Blodforaf molaf y mi
Wiwdduw a wrendy 'ngweddi:
I drugaredd drwy garu
Da kaf gan fy unduw ku.

## Y LXVII. *Psalm.*

### Trybedh menaich hen ofer-fesur.



O Dduw mawr maddau ymi
Duw agwrdd bendigi
Duw parawd y pert
Dy wyneb towynnt
Atton ni di wyt yn naf.
Pobloedd miloedd molant;
Eilwaith duw addolant,
A mowlair moliant:
Kenedloedd kain odlant
O drachwant duw ior uchaf.
Diau oll bobl daear
Yn llawen gwên rhai gwar:
Kyfion farn kefnai far,
A llywodraeth gaeth gar
Digyfar duw a gofiaf.
Pobloedd miloedd molant;
Eilwaith duw addolant,
A mowlair moliant:
Kenedloedd kain odlant
O drachwant duw ior uchaf.
Daear rhoes pumoes pêr
Dowmus ffrwyth tyner,
Duw ydwyd dyweder,
Dy fendith, dy fwynder;
Dyro yn ner duw ior naf.
Dód f'unduw dod fendith
Dad yn plaid dod in plith,
Dwyfn a chair d'ofni chwith;
Daw ar oll daear rith
Ni chwith a gar duw uchaf.

## Y LXVIII. *Psalm.*

### Vnodl vnion.



Oded arglwydh rwydh rodhiõ naws
Gwaskerir i alon: (kariad
El-ynol i elynion
Dwedh ffals oe wydh y ffôn
Fal mwg ir gyrrir ef ar gwyn neu
A dawdh ger pentewyn: (gwyr
Drwy vdo fo dry adyn
Yw wydh Duw ni wedhai y dyn.
Gwyr kysion vnion anant o wirglod
Ir arglwydh glodhestant :
A llawenydh sydh i sant
Yn iach y llawenhychant.
Kenwch dhuw kenwch ackenion kwyraidh
Kweiriwch i ffordh dition :
Yw wydh bydh llawenydh llon
Yw enw yr vnduw vnion.
Duw draw sy 'n tariaw tirion yw bebyll
Gida i holl bobl ffydhion :
Dial dros wragedh gwedhwon,
Ef dad ar ymdhifaid ion.
Rydh blant a llwydhiant a llaw or karchar
Kyrched bawb yn hylaw:
Duw a dhwg y rhai drwg draw
Dwg i le drwg i drigaw.
Heb ffrost pann aethost weithion Duw oesawg
I dwyso dy dhynion :
Pann rodiaist ti an twysaist ion
Ir mynydh gellydh gwiltion.
Daear groew answar a grynnodh arw-nwyf
Ar nef a dhiferodh:
Sina oe flaen a synnodh
Dyw Israel ior hael arhôdh.
Ith ffraeth tiredhiaeth da fodhion gloewaith
Y glawiaist yn ffrwythlon;

Wyt

Wyt trugarog dwysog don
Or gorau i wyr gwirion.
Ath luoedh gadoedh gwedi Duw puredh
Peraist oth dhaeoni:
Y rhain a borthaist sy rhi
Yw kul adwyth ae kledi
Duw tad yn siarad ni sorais yno
Annwyl pob tirion-llais:
Mawr ydoedh lluoedh a llais
I foliant yn dhisalais.
Brenhinoedh kadoedh kodai hoff-wasarn
A ffoesant bob mintai
Rhai ido aeth er bynn o dai
Os bae o'uo a ibeiliai.
Y rhai sydh bob dydh wrth dan y borau
Ag yn berwi 'r krochan
Eurir i heskyll artan
Fal klomennod gloewnod glan.
Oe fodh gwalgarodh ysgyrion hoewnaf
Frenhinoedh yn Seion:
Kanniad teg lle kannwyd hon
Y sy eil-modh i Salmon.
Bronn Seion dirion da i aros mwynaidh
Yw mynydh Duw 'n agos:
Mynydh Basan ymannos
Mynydh glennydh rhydh a rhos
Pa talchder hyder yw bynn a nodwch?
Ae neidio mae pob brynn?
Dian sydh yn Duw a fynn
Dario yma drwy emyn
Mil syrdhiwn da gwnn digwyno 'ngolwg
O angylion yw lusgo:
I Sina Duw sy yno
Sant ior fydh yw seintwar fo
Deliaist karcharaist garw chwarau rhodhaist
A mynnaist i minnau:
An-ufudhion o fodhau,
Yn llonn hael in llawenhau.

Ffraeth iechydwriaeth nid diriaid eurglod
Ir arglwydh bendigaid:
Kans bevnydd y rhydh yn rhaid
A fai annwyl fy enaid.
Yn Duw kowir-dhuw lle kerdho vchod
Iechyd pawb ae keisio:
Y ffordh rhag angau i ffo
Y dokydh ydyw efo.
Duw 'n hawdh y bylchawdh wyr beilchion bevnydh
Tyr bennau i elynion:
Fo ellia duw felly dôn
I korynnau beilch krynnion.
O fasan ar tân tynnir y gwirion
Geiriau Duw a gredir:
O dhiwfn y moroedh ofnir
Medh naf mi ae tynnaf ir tir.
Gwlycha 'n traed a gwaed ergydio kas-dhyn
Y gelyn i gilio:
Kwn yn dalwch nis kwynwn dro
Yn llyfu i gwaed fy yn lliso.
Kamrau duw golau gwelant mawr annial,
Fy-mrenin anwylfant:
Duw fu eidho da fedhiant
Yn war yn i feintwar fant.
Llawer timbrel ffel yw ffydh y merched
Am orchell melyn awydh:
Ol a blaen mawl heb lonydh
Kantorion kerdhorion dhydh.
Molwch dhuw molwch a mael pob terfyn
A phob tyrfa dhifmael:
Ywylvfran holl hil Israel
Molwch f'arglwydh hylwydh hael.
Beniamyn dyfyn difiawg ae dylwyth
Deled a phob twyfawg:
Silwda Nephtal fy oedawg
Sabvlyn er hynn yrhawg.
Bid nerthawl dy hawl holl gwisw-wrdhas
A gwir-dhuw 'n i bert:

Yn

Yn gadarn Duw gwnai gwedi
Yeb fost a wnaethost y ni.
Offrymant rhodhant a rhaith wir solas
Ynghaersalem berffaith:
Y brenhinoedh barn henwaith
A rhodhion oll rhwydh iawn waith.
Gwyr beilchion geirwon ar gwarel taer-weilch
Fal y teirw mewn kornel:
Gwasgar bawb os kair y bel
A gar rhyfig a rhyfel.
Uchelwyr iownwyr anian goludawg
A gwlhdydh Aipht lydan:
Ethiopia a leda n lân
I dwylo in Duw hoewlan.
Teirnasoedh tiroedh torant wirionder
Ir unduw ogoniant:
Kenwch tawl kenwch foliant
Kroew wawd a thalawd a thank.
Yn wir arweinir Duw ar weint nwyf
Ir nefoedh yn wisgi:
A llais nerth nis llyswn ni
Y gwilwdhnw pan fo yn gweidhi.
Yr Israel nid gwael yn gwau ir boblocdh
I nerthoedh yn wrthiau:
A nerth yn brydferth Duw brau
A mawl hyd y kymylau.
Wyd nerthawl dy hawl deholwyd dynion
Dy enw a santeidhiwyd:
Ith seintwar waith sant ior wyd
Duw ofnadwy dwfn ydwyd.

## Y LXIX. *Psalm.*
### Vnodl kyrch.



Adw fyst rhi mae 'n rhaid
Wyt ior enwog truaniaid:
Yn nês y dwfr oe naws doeth
Wyf anoeth at fy enaid.

Aros ni allaf ddrig
Ym-hwll y dom byll a dig:
Ag yn-nyfndwr y dwr dwfn
Yn an-nwfn mae 'n wenwynig.
O vael wy 'n wir yn galw y nos
Yn krygu mewn kur agos
Blinodh fy llygad blaen-wann
O Duw eirian yn d'aros.
Amlach nam gwallt hallt yw hynn
Y ny gwelais mae gelyn:
O nerth fyngaethiwo a wnant
Rhedant mewn ffaliedh rhy-dynn.
Nithreisiais telais at hedh
Ag ni ffaeliais gan ffoledh:
Ior rhygall ni chudh rhagod
Y mau bechod am buchedh.
Ni bydh kywilydh kelf
A chas wedh om achos i:
Ir gwr ath geisio ar goedh
Duw y lluoedh di ae llywi.
Ni wridant gan waradwydd
Y saint ath geisio yw swydh:
Wyt Dhuw nef yd wyt dha nod
Eurglod om achos arglwydh.
Yn wir er dy swyn ddrig
Im keblir delir fi a dig:
Kywilydh prudh sy 'n kudhiaw
Arwydh draw im grudh a ddrig.
Keraint nid ynt im karu
Yn yr un fraint erwin fu:
Ydwy athrist dieithrwas
Fradwr kas gann frodyr ku.
Wyf eidhig ddrig arlwydh
Bid dy serch im bwyta o swydh:
Ar gwyr ath gabla ar gân
Dy ogan ym y digwydh.
Ympryddiais wylais alar
Hynod gamp am enaid gwar:

A hynn

A hynn a droed hoewan dro
Y nuw etto yn watwar.
Gwisgais llain wyf fainwas
Y sach brallg o garth sych bras:
A hynn ni wnaeth honni neb
Dihareb pob dihirwas.
Eistedhant dwedant ar don
Cyrrant ym eirian geirwon
Yw kyfedh dig hyfedhw dant
Y kanant ae hakenion
Er hynn y gelwais dhuw rhi
Yma gwaedhais im gwedhi:
A Duw ion mewn pryd arab
Gwir vnduw fab gwrando fi.
Dod oth fowredh vnwedh ion
A ched ior iechyd wirion:
A gwared di nid gair twyll
O dhidwyll adhewidion.
Tynn fi or llaid rhaid yrhawg
Ior tyner ar dwfr tonnawg:
A gwared dy was gwirion
Rag gelynion Rhai klonnawg.
Rhag bodhi boeni benyd
A chau oer bwll chwerwa byd:
Rhag ir bedh ar dyfnedh du
Fy llynku yn fwll enkyd
Moes atteb hoew vnded hedh
Oth wir anian ath rinwedh:
Gwrando arnaf naf am nad
Drwy gariad oth drugaredh.
Na ymgudhia mwy godhed
Rhag dy was kroew brdhas kred:
Brysia gwrando fi 'n brysur
Trwm yw 'nghur tro yma 'nghed.
Brysia rhed gwared y gwas
Fy enaid wyf dy fwynwas:
Ag achub rhag gwyr gwchion
Gelynion am galanas.

Kefais senn am brickbrennu
Yn wir a dig anair du:
Gworth neblwyr herwyr hirweilch
  Yn d'wydh yn feilch didhawn fu,
Gofid kes adfyd gofid
Y galon drist gwael iawn dro:
Nid oedh neb nid oedh yn ol
  Siriol wr im kysurio.
Roi y bustl hir y bostiynt
Im bwyd arglwydh rhwydh yw'r hynt:
Sych a dig im syched egr
  Y finegr a dhanfonynt.
I bwyd yn faglau y bydh
Yn ymosod in medsydh:
Ae ffynniant anhoff anial
  Yn rhwydau yw dal rhyd y dydh.
Peri arglwydh rhwydh im rhaid
A llwgr dowyllu i llygaid:
Yw kalon dn Duw keli
  Peri ofni mewn prifnaid.
Dyro i rhain daro ar haint
A gofal a digofaint:
Dy lidiaw ae dell wedi
  Dig o ynni dwg ennaint.
Bid llys heb dhim bwyd a llynn
Herwr bid y dihiryn:
Derwr heb neb i aros
  Yn y didhos nae dydhyn.
Erlidiant ar ol wedi
O drais dyn a drewaist di:
A chwanegant drwy antur
  I dholur yw dhielwi.
Dod enwiredh anwedhol
At i enwiredh ffalsedh ffol:
I fendith dy gyfiowndcr
  Duw an ner nis dôn yn ol.
Duw i henwau a dynner
O lyfr bowyd byd oedh ber:

Wedi

Wedi a daswn gida dynion
　Union nag ysgrifenner.
Tyst oer fab tostur wyf fi
Ag anghenawg ynghyni:
Ti ath iechyd affryd ffraeth
　D'orchafiaeth im dyrchefi.
Mola enw Duw mael enwawg
A rhwysg a chaniad yrhawg:
Mollannaf a mawl wnniau
　Yn i wrthiau ollnerthawg
Gwell yw gennyd wiwbryd ion
Y gwawd hwnnw nog eidion:
Na tharw ag ych vthra gwg
　O rann hirwg gyrn hirion.
Gwyl truaniaid blaid o blant
Yn iachus llawenychant:
A geisio Duw deg o stad
　Ef a wydhiad byw fydhant.
Gwrendy dan gof Jehofa
Dylodion a dynion da:
I garcharwyr gyrch irad
　I magiad ni dhirmyga.
Molwch ef yn y nefoedh
A daear oll Duw ior oedh;
Ag oll a red gwell o rann
　Yn y marian ar moroedh.
Duw fyw ef a geidw Seion
Ag a adeila yna ion:
I blant diohig y trigant
　Ynny a fedhant iawn fodhion.
A fflant i weision hoff liw
Ae medhiannant modh iownwiw:
Yno taria yn anwar
　Yr vn a gar i enw gwiw.

## Y LXX. *Pſalm.*

### Y gyhydedh wendroſgl neu gyhydedh hir.



M gwared rhed rhwydh
Duw eurglod Arglwydh
Kymorth fi arwydh gwiwr-lwydh
Kywilydh rhydh rhaid (gorau:
Kair goſtwng blwng blaid
A gais fy enaid gwas wy finnau.
Koeliwch fi kiliant
O ludh kwilydhiant
Im drwg a chwardhant oer-blant arw-blan
Gwarad wydh ſwydh ſynn
Gwir ſyd gwr a fynn
Gwaſtwr tynn er hynn gelyn golau,
Llawen gwên pob gwr
Ath gais ais oeſwr
Ynot i gyſlwr rhadwr rheidiau.
Y gwr a garo
I iechyd vcho
Molwch dhuw yno medhai fo 'n fau.
Wyf drwan wann was
Duw gwared gwras
Dyro help rhag kas galanas glau.
Dy gymorth porth per
Duw naf ydwyd ner
Duw tyner noder na wna oedau.

## Y LXXI. *Pſalm.*

### Deuair hirion.



Ttad rhedaf naf yn wir
I gywilydh nim gwelir:
Gwared naf gorau wyd ner
Gwiw fendith dy gyſio wnder
Gwrando 'ngwaedh gwrãdo 'ngwedhi
O iechyd lyth a chadw fi:

Adhewaiſt

Adhewaist wyd yn dhiwael
  Ymy nerth hwnt mae 'n wyrth hael.
Etto y tad do attad di
  Graig kadarn gorau y kedwi.
Duw gwared rhag dig araith
  Dichellion dynion oer daith.
Arnad kaf gwir-nod kais
  O drachwant ir edrychais
Mawr boen pann dhoethym ir byd
  A mau obaith im mebyd:
Di or groth diorwag rann
  Am megaist nid mwy ogan,
Ag yn ol o eigion ais
  Wiw Lownedh ith foliennais.
Ydwyf derfysg y mysg mil
  Anghu anfad anghenfil.
Dydi er hynn dad y rhaid
  Dhuw orig yw f'ymdhiriaid.
Genau mau ath ogoniant
  A mawl y llenwir fy mant:
Nam gwrthod breisgnod ior braint
  Nag im-hoen nag im henaint.
O diffig nerth drafferth draw
  Hybarch na fwrw fi heibiaw.
Fyngelynion gwchion gant
  Sur ydoedh a siaradant.
Gwael yw'r taith im gwilwyr i
  O hirwg ymgynghori:
A Duw syth medhant oe fodh
  Gwarth wedi ae gwrthododh.
Deliwch a chebliwch a chedo
  O gwr nid oes ae gwared,
Na fydh yn hir fodhion hyf
  O Dhuw wyrthiawg odhiwrthyf:
O Duw brysia gwcha gwedh
  Im kymorth rhag dim kamwedh.
Derfydh kywilydh i kaid
  Gelynion sy im gwael enaid.

Mwyfwy os pair ym osid
 I warth aflwydh gwradwydh gwrid
Yt bob amser ner am naf
 Ym oedh raid ymdhiriedaf
A chanaf yn wych hynod
 Fal iaith glaer dy fawl ath glod
Am genau mi a ganaf
 Dy gyfiawnder ner am naf.
Ni wnn i rif a ffrif ffraeth
 Wyd ior dy iechydwriaeth.
Rhodia 'n war o rhoi di nerth
 Duw parodfawl da prydferth.
Kofio a wnaf kyfiawn ner
 Kofio vnduw kyfiawnder.
Er yn fachgen fyngeni
 Duwys goft fyth y dyfgaift fi
Trevthais a welais heb au
 Wedi dy ryfedhodau.
Duw vchod nam gwrthoder
 Yn bennwyn iawn bawn yn ber.
Nes ym draethu medhu mawl
 Dy dhawn wyrth didhan nerthawl.
Dy gyfiawnder kofier kaf
 Ae draethu hyd yr eithaf
Gweithiaist folwredh freisgedh frig
 Wyd obaith pwy fy debig
Dangosaist mynnaist y mi
 A gwael adwyth galedi.
Di am fynni kodi kar
 Dawn dhuw odhi dann dhaear.
Ag amlhaf nid gwamal hedh
 Ymmy orig fy mowredh.
Ag eilwaith fyng-wirgalon
 Y kyfuri fi fy fon.
Yn ol kanaf dy foliant
 Ath wawd a thafawd a thant,
Dy wiredh hwnt iraidh hael
 Dewisrodh vnduw Israel.

O kanaf yt aken faith
  Llyna wefus llawn afiaith.
Am enaid a dhowaid dhawn
  A brynnaist yn ber vniawn.
Beunydh traethaf am fafawd
  Dy gyfiownder gwiwner gwawd.
Kywilydh gwarth kledh a gânt
  Yn rhythr sawl am anrheithiant.

## Y LXXII. *Psalm.*

Deuair hirion.


Dysg dy farn o dasg dy fawl
  Duw ir brenhin dewr breiniawl:
Ag yw fab wr gwiw a sydh
  Gyfiownder dy gof vnydh.
E farn yno oe froun ennyd
Dhynion yn gyfion i gyd.
Y kyfoethawg kof ieithoedh
  Fal tylodion vnion oedh.
Mynydh a dhwg ymannos
  Dangnefedh ynIwedh nos.
Ir brynniau oll ar bronnydh
  Gyfiownder dyner bob dydh.
E farna dlawd brawd ir brig
  Madws sydh orthrymedig.
A rhydh i iechyd yrhawg
  Ynghu enaid anghenawg.
Ef a fathr ag a fathra
  Gablwyr sennwyr bleidwyr bla
Tra fo haul tra fo heli
  O fewn yn tir ofnant di:
Tra fo llewych tirf llevad
  Byth bythoedh kenedloedh kad
Disgynnt ail dwys gain wedh
  Yr odlaw ar yr adwledh
Fal kafod fal y kofiych
  Y dhaear glaear ae gwlych.

Y kyfion hoew vnion hir
  O bai orchest a berchir.
Tra fo lleuad rif llawen
  Tangnefedh fydh rhydh ir hen
Ior hael byth rheoli bydh
  Gwelwch or mor bigilydh.
Hyd eithafion daith hefyd
  Y dwr balch a daear byd
Dieithrion gwylltion nid gau
  Ae gwyl yno ar i gliniau.
Ae elynion o soniwch
  Sy'n kasglu a llyfu llwch.
Llawer anrheg deg dygir
  Brenhin Tharsys ynys ir:
Brenhin Sheba Saba son
  Yn rhwydhwych yn i rhodhion.
Ger i fronn pob gwir frenin
  Gostyngant rhedant mewn rhin
Uwch holl genedloedh a chwant
  Gyson waith ae gwasnaethant.
Teg ydoedh yntau a gadwai
  Tylodion dhynion lle dhai.
E gymmorth rhag i gammu
  Orthrymedig or dig du.
Difudhiawg anghenawg hedh
  Draw a gair yw drugaredh
Ag o arw-sigl berigl byd,
  Ackw efo ae kyfyd.
Tynni i bowyd hynod
  O dwyll a thrais dull ith rod.
Amryw wyrthiau mawr-werthiawg
  I gwaed yw wydh rhwydh yrhawg.
Kaiff yma yw oes koffa mawl
  Aur o Saba wrsibiawl
Pawb a wydhiad pawb eidho
  Ae wedhi ae fawl idhaw fo
Ykodiau fyth yw stad fydh
  Ydau ir brynniau bronnydh

Ffrwyth

Ffrwyth daear lawengar lonn
Ail i bennod Libanon:
Ar yd kynn amled ar wellt
Yw dorri a daear-wellt.
I enw a gair enwog oedh
Hael naf tra fo haul nefoedh.
Pob kenedl a ymchwedlant
I fawl yn nefawl a wnânt
Bendith Dhuw i hoewdhuw hael
A dewisfrodh Duw Israel:
Fo wna'n unig fwyn antan
Firag'au gwych folwrgoel gân.
Yn dhichwith bendith bob oes
Yw ogoniant dheigeinoes
Llanwer daear mwyngar mau
Amen Amen i minnau.

*Terfynant gwedhiau Dafydh fab Isai.*

# Y trydydh llyfr.

## Y LXXIII. *Psalm.*

Cywydh devair hirion.



Uw 'r Israel diwael da ion
Gwelwch i bob glan galon.
Agos fu ffael drafael dro
Ail athrist ymy lithro,
Wrth fetlchion trymion i trais
Ganwaith y kenfigennais,
Gweled rhwydhynt fyml-hynt fon
Anacle anuwiolion.
Nid oes bodhynt rwym na dau
A diengant hyd angau.
Na cilefyd er hyd yr hynt
A nodwch kryfion ydynt.

Poen fowredh pann fo arall
Yn dal ar gur dolur gwall.
Nis daw vdhynt naws diodhef
Na ffrewyll ol ni ffair llef.
Ae balchedh blin ag'wedh blant
Gwedi yno ymgadwynant:
A thrais yn dhillad a thra
Ackw adhas ae kudhia.
A chwydh i llygaid a chig
A braster llownber ystig.
Mae vdhynt siwr medhiant son
Golud wrth fodh y galon.
Sur oedi beilch siarad bar
Yn floesgion yn faleisgar:
A cham odhuchod a chwant
Sy oer wedi siaradant.
I genau 'n vwch gwenwyn oedh
Mawr o nwyfiant na'r nefoedh:
Ae tafawd parawd yw penn
A yrrant drwy 'r dhaearen.
Edrych y drwg ae rhodres
Gweled i llowned ae lles:
Hynny a bair ymhorni bydh
Troi vnion taer awenydh
Dwedant gwaedhant ir gwiwdhuw
O dhall don a dhevall Duw?
Oes gwybodaeth nwyfiaeth naf
Drevchwedl ir gorvchaf?
Wele yr anvlwiolion
Dedwydh ir byd diwyd don:
Ag aml-hant heb gymal byd
I kyfoeth ackw hefyd.
Ofer yw 'n wir ym fry 'n ion
Ynghuli lanhau 'nghalon.
Ag ymolchi henwi hedh
Yn f'enaid mewn kyfiownedh.
Kes adfyd benyd bevnydh
Bai yradh oer bob borau dhydh.

Duw

Duw wyd hael o dweda hynn
 Diau oerbwyll yn d'erbyn:
Medhyliais am wedh eilwaith
 I wybod hynn ar bob taith.
Dal erioed dolur ydoedh
 Hynn a drwg im golwg oedh:
Nes ym fyned o gêd gwar
 Ith fwynaidh santaidh seintwar.
Deuellais gwelais i gyd
 Poenau'r gwyr drwg ae penyd:
Gosodi wynt a gwys dig.
 Llu athrist mewn lle llithrig.
Bwrl yn wir borau a nos
 I borr mwnwgl draw ymannos:
Disethwyd diwriwyd i ball
 Dyna angau dyn angall.
Ag o fowrgur gyfyrgoll
 Darfuont fodhasont oll.
Fal deffro dihuno don
 Ofer dhatl o freudhwydion.
A mwg o boen dirmig byd
 I hamkanion mae kennyd.
Yn fynghalon fynghybli
 Lle daw serch y llidiais i:
Am medhyliau modh alar
 A dhwg o boen dhig a bar.
Ffol adhysc nid ffel oedhwn
 Ag heb dheuall gwall y gwnn:
Wedh im kof yn d'wyrth im kaid
 Un wyf fal anifeiliaid,
Ag er hynn gorau honni
 Gwawd oth waith wyf gida thi.
Diwael dro di am deli draw
 Waith hylwydh ath dheheulaw.
A dysgi ym ior y dasg mau
 Ynghariad ath gynghorau.
Am derbyn a chwyn o chwant
 I ganol dy ogoniant.

Pwy ond dydi ymi oedh
 Uniawn nai yn y nefoedh.
Ag ni cheisiaf koethaf kar
 Adhewid ar y dhaear,
Diffygiodh kulodh kalon
 Am knawd brailg gida'm knwd bronn.
Wyd nerth im oes dann wyrth mawl
 Ygwiwdhydiw yn drag wydhawl.
Sawl a el at y gelyn
 A dherfydh diffydh y dyn.
Kaiff hefyd a ffenyd ffrad
 Naws etto neshau attad:
Duw kymdhiriaid gannaid goedh
 Traetha i rad trwy i weithredoedh.

## Y LXXIIII. *Psalm*.

Devair hirion.



Paham arglwydh rhwydh fy rhi
 Am gwyrth wyd im gwrthodi?
Ag y llid gwall ydoedh
 Wrth dy dhefaid kannaid koedh:
Y dyrfa kofia i kael
 A brynnaist heb air anael.
Mynydh Seion ffrwythlon ffraeth
 Y tty fydh etifedhiaeth.
Bwrw dy elyn brad alar
 Benn dorr mwnwgl gwrwgl gwar:
Kans vdfawr kwynais adfyd
 Yn dy seintwar bar y byd.
D'elynion arw-don oerder
 Aml i nad ith deml ner.
Gosodant gweithiant i gau
 Yn aruthr i banerau:
Yw gweled y rhed yrhawg
 Ail seiri diflas orawg.
Ag yn arwain gwnn oerni
 Bwyill nadh o ball y ni:

Twybill

Twybil a gyrdh ond tebig
   Torrant a darniant a dig,
Y kerfiad hardh ar kyrf teg
   A llonlau dibwyll waneg.
Yn dy seintwar bar lle bont
   O rysedh tan a roesont:
Ath annedh berffaith unawr
   A fwriwyd Duw lwyd i lawr.
Llosgwn medhant drwy antur
   I lueftai na fai fur:
Nid oes yn broffwyd na dyn
   Nag ar wydh-waith na gwreiohyn,
Ag nid oes dyn gwann dyst aeth
   Or byd a wyr wybodaeth.
Pa hyd arglwydh rhwydh er hynn
   Ith gabla gwaela gelyn?
Bryfia moes da oes o daw
   Dheholiad dy ohebeulaw.
Tynnt in llenwi a lles
   Fannwyl dy law oth fonwes.
A difa nhwy di-fwyn hâd,
   Duw frenin diau freiniad:
Pôb techyd ddiaeth gwnaethost,
   O fewn byd funyd di-fost.
Dy rymm di-warth a barthodh,
   Y modhyn fôr-gerwyn fodh:
Drylliaist bennau dreigiau drâw,
   Yn y dyfrodh Jôn di-fraw.
Duw drylliaist ben lown-ben lwyth,
   Lefiathan di-lân dylwyth:
Ith lû tal yn anialwch,
   Rhoist ef yn fwyd drom-glwyd drwch.
O fol y graig wenn-graig (Jôn,)
   Yoff ennyd dugost ffynnon:
Rhoist afon oi cheu fronn chwyrn,
   Sychaist aberoedh st chwyrn.
Ti biau dydhiau lle dôn,
   Di-wad a nôsau duon:

Ti a luniaist oleuni,
　A haul têg a hwyliyt ti.
Di osodaist dwys ydoedh
　Dayar-derfyn (nodhyn oedh:)
Hâf a gayaf hŷf-gofyr,
　Gwnayt adeg Iôn têg i'n tîr.
Cofia hyn, gabl-gelyn gwarch,
　Yn d'erbyn Iôn diweir-barch:
Pobl ynfyd (lown-fryd lw,
　Du-nôd) difenwant d'enw.
Enaid pûr dy durtur dôn
　(Gêli) na dhêd ir gâlon.
Na anghofia dyrfa (dâd)
　Dy werin oer-in irad.
Dy gyfammod wiw-glôd wŷch,
　Dhi-drais (ô wir dhuw) edrych.
O drowsler lle arferir,
　Llawnwyd tywyllwyd y tîr.
Tlawd digarad yn wradwydh,
　Na dhychweled (sur-ged swydh:)
Anghenus, truan an-wych,
　Moled d'enw gwiw-dw gwych.
Dadle d'achos ar osteg,
　Cyfod o Dhuw dawn-dhuw dêg:
Cofia dy gabledh hedhyw,
　Gann ynfydion fythion fyw.
Na anghofia lowna lais,
　D'elynion mulion malais:
Dadwrdh pa rai heb drai dring,
　Dorfoedh ith erbyn dirfing.

## Y LXXV. *Psalm.*

Deuair hirion etto.


Molwn di nêr fyner têg,
　Treythwn dy foliant tra-theg:
Dy enw mewn daioni,
　Aros mae'n agos i ni:

Dy

Dy ryfedhau gorau gwedh,
    Mynegant hynn mwyn agwedh.
Y dorf-lû yn gû pann gâf,
    hur-nod inion y barnaf.
Y dhayar o-fydhar fodh,
    Deu-tu adwen dattododh:
Ai thrigolion hoywon hi,
    Siglasant nes ei gloesi:
Attegais nerthais lawn oedh,
    Wych lafnau ei cholofnoedh.
Dwedais hynn diwydia sôn,
    (Araith ffel) wrth rai ffolion:
Na ynfydwch (cêdwch gôf,
    O bai wyllt-gamp ne wall-gôf:
A'r an-nuw dwl gat-ffwl gorn,
    Hel-gwrs, na dhercha hwyl-gorn,
Eych corn rysel-gorn lle'r êl,
    Dwchus nedwch yn uchel:
Geiriau gwar-syth (nwyf-nyth nôd)
    Na dhoedwch (yn dhiadnod.)
Ni dhâw o'r gain dhwyrain-dir,
    Un gorchafiaeth dy-faeth hir:
Nag o'r deau dôniau daith,
    Nallin gorllewin llyw-taith.
O herwydh Duw gwiw-dhuw gû,
    Bûr-nerth y sydh yn barnu:
Ef a ostwng nwy-fwng naill,
    Drig e gyfyd eraill.
Yn llâw fy Nêr dyner dâd,
    Mae phiol retol rywiad:
A'r gwîn yn gôch (ile'r ochir)
    Yn llawn cymmysc hyfysc hir:
Ag ef tywalltodh i gyd,
    Oll yr hwnn-win lle rhennyd:
Holl annuwion blinion blant,
    Yn wisci hwnn a wascant:
Ag a yfant dra-chwant draw,
    Ei waelodion oi lidiaw.

Byth-folaf, cânaf (im côb,)
  Dhwys iwiw-gair i Dhuw Iagob.
Torraf holl gyrn mep-cyrn maith,
  An-nuwiolion annial-waith:
A chyrn tirion eurion ir,
  Or-chyfiawn a dherchefir.

Y LXXVI. *Psalm.*
Deuair hirion etto.


Wir-hynod o dhefod thâ,
  Yw (os adwen) Duw 'n Suwda:
A mawr ei enw a mael,
  Yn-newis-rann yr Israel.
Ei babell dra-eur-well drem,
  Y sy eilwaith yn Salem:
Ai drigfa dhuw wiw-dhuw Iôn,
  A sai annedh yn Seion.
Yna drylliodh fowr-fodh fu,
  Y saethau rhag ei seythu:
Y bwa cryf rygryf rann,
  Clau o'r tir a'r clawr-tarian:
Y cledhyf hoyw-gryf hy-grwydr
  Friw-daith, a'r rudh-waed frwydr.
Disgleiriach a chadarnach chwyrn,
  Wyt na'r cadau wyr cedyrn.
Cedyrn-galon ladron lû,
  Yspeiliwyd nes ei pylu:
Hûnasant ei hûn isod,
  (Hûnent ni ryglydhent glod)
Milwyr, câd-wyr, rai cyd-nerth,
  Dim ni cholwsant nwyfiant nerth.
O Dhuw Iacob aur-gôb-waith,
  Gann dy gerydh derydh daith:
Y rhoed y cerbyd y rhawg,
  Y March i gysgu a'r marchawg.
Tydi, tydi, fy Rhi rhwydh,
  D'ofni a dhyli dhuw-lwydh:

Pwy

Pwy a saif (araif ir-aen)
  Pann fydhid ith lid, oth flaen:
O'r nefoedh y cyhoedhyd,
  Dy farn oren-farn ar fyd:
Yr oll dhayar gronn-war grê
  Os digiyt a ostege.
Pann gododh Duw (freu-dhuw frû)
  O fowr-nerth drâw i farnu:
Ag i achub (gu-wych-ir)
  Rhai llednais di-drais ar dir.
Cyndharedh dyn bol-dyn balch,
  A'th folianna (fael iown-walch)
A'i cyndharedh o wedhyll,
  Gostegi draw dhifraw dhull.
Adhunwch i Dhuw iniawn,
  Telwch dhi-eidhilwch dhawn:
Dygwch wiw-dêg anrhegoedh,
  Rhai iw amgylch-ogylch oedh:
I'r ofnadwy lân iwaneg,
  Rhowch anrhegiad taliad têg.
E dynn Duw yspryd byw-iaith,
  Twysogion gwyr mowrion maith:
I frenhinoedh bydoedh bydh,
  Ofnadwy wir-ofnedydh.

Y LXXVII. *Psalm.*

Deuair hirion etto.

'Y llêf y gwaedhaf am llais,
  Ar Dhuw oglyd dhi-waglais:
Am llêf y gwaedhaf hefyd,
  Ar dhuw tra fwy byw ir byd:
Ag ef yn rhwydh (gwiw-lwydh gu)
  Gowrein-deg oll am gwrendu.
Yn fynhrallod gyfnod gais,
  Cyson yr Arglwydh ceisiais:
Rhedodh liw nôs yn rhydost,
  Fy archollion taerion tôst:

Fenaid isod gwrthododh,
 Ei dhidhanu fwyn-gu fodh.
Medhyliwn am Dhuw olud,
 Im trallod merwindod mud.
Pann derfysgyd fyspryd fwy,
 A gwedh awen gwedhiwy.
Deliaist fy llygaid dolur,
 Yn neffro lawn-gyffro gur:
Dychrynnais synnais ennyd,
 Heb lefaru (fwyfwy fud.)
Yna ystyriais anian,
 Y dydhiau gynt rwydh-ynt rann.
A blynydhedh ryfedh rêd,
 Yr hên oesoedh hynawsed,
Medhyliaf mau eidhil-wedh,
 Am fyng-hân wirion-gân wedh:
Myfyrio 'rwyf dhi-nwyf-un,
 Di-warth hwnt wrthif fy hun:
F'yspryd eidhil sy'n chwilio,
 Fel hynn ar ryw Dreinyn drô:
Ai 'n dragywydh (hy-gudh hîr)
 Y cilia 'r arglwydh coel-wir?
Ag oni chair (gair gofwy,
 Gwae mud maith) ei gymod mwy?
Ei drugaredh ai hedhoedh,
 Ai byth-derfyn udhyn oedh?
A balla gair sad-air sôn,
 Dhi-oed--oes ei adhewidion?
A anghofiodh Duw fodhau,
 (Draw gywir hedh) drugarhau?
Ai mewn sorriant dyfiant dîg,
 Caeodh drugar-fodh orig?
A dwedais diau wedi,
 Dyma 'ngwendid ofid i:
Cofiaf goedh flynydhoedh law,
 Dhuw hael-wych ei dheheulaw.
Cofiaf weithredoedh cyfiawn,
 Yr arglwydh dhiweir-lwydhdhawn:

Cofiaf

Cofiaf d'wrthiau (finnau fâb)
  o'r cyn-fyd wyrd arab.
A Myfyriaf mwy fwriad,
  D'oll weithredoedh rhifoedh rhâd:
A chwedleuaf iolwnaf Iôn
  Mâgiad am dy dhychmygion
Dy ffordh ô dhuw ri-dhuw rwydh
  Sy 'n tuedh-rym santeidhrwydh
Pa Dhuw sydh (gwiw-lwydh gelt)
  Mor fawr an duw nowdh-fyw nt
Tydi ô Dhuw gloyw-dhuw glôd
  Wrau fodh wnai ryfedhod
Mysc y bobloedh luoedh-fawr
  'Hppysaist dy nerth mur-nerth mawr
Gwarêdaist tra-gwir ydyw,
  Yn nerthol fodh-reiol ryw:
Dy bobloedh luoedh ar lêd,
  Meibion hîl dhi-eidhiled:
Siacob dhwys-gob dhewis-gair,
  A Sioseph hoff or-off air.
Dyfroedh tawel ath welsant,
  Ti ô Dhuw synhwyr-dhuw sant:
Dyfroedh ath welsant di-frys,
  Ag ofnasant rysiant rus:
Pôb dyfnder (duw nêr in wyd)
  Gwyn hir-fawr a gynhyrfwyd.
Cymylau dalfau di-lwfr,
  Pistyllient dhylifent dhwfr:
Yr wybrennau nennau wnênt,
  Dwrw garw lle gwyrent
Dy saethau rwyfau lle 'r ânt,
  gwrdh isod a gerdhasant.
Twrf dy daran tarf diroedh,
  Amgylch-glywyd flim-gryd floedh:
Melltennau amwyllt annian,
  Goleuent fyd synn-fyd sann:
Cyffrôdh a chrynodh oi charn
  Y dhayar graf-gar gryf-garn

Dy ffordh sydh dosydh dikai,
  Yn y môr sugn-fôr lle sai:
Ath lwybrau olau ellwaith,
  Yn y dyfroedh mowrroedh maith:
Nôd anian ni adweinir,
  Dy ôl-gamrau (geiriau gwir.)
Twysaist dy bobl at oesi,
  Dy gorlannaid defaid di.
Drwy lâw Moses llw-dês lan,
  Ag Aaron twyn-gu eirian.

Y LXXVIII. *Psalm.*
Deuair hirion etto.


Y-mhobl rîf am nifer,
  Gwrando 'nghyfraith berffaith bêr:
At eiriau 'ng-enau yngan,
  Gostyngwch glust iawn-dyst lân.
Agoraf (dhi-wâg araith)
  Fyng-enau mwyn fynag maith:
Mewn dihareb gudeb gair,
  Hên-son damegion mâg-air.
Rhai a glowsom dhi-som dhysc,
  Ag a wydhom aeg adhysc:
A fynegodh (ai rhódhi)
  Eyn tadau enau i ni.
Rhag ei meibion gwirion-fodh,
  Ni chelwn fŷth wych-lan fodh:
Eithr coedhwn (aruthroedh)
  I'r oes nesaf (iownaf oedh)
Foliant yr Arglwydh llwydh-wych,
  Ai rymmus nerth wiw-nerth wych:
Ai ryfedhau diau dâ,
  A wnaeth ef (fwyniaith hy-dhâ.)
Côdodh destiolaeth faeth-ryw,
  Yn Jacob orau-gób ryw:
A gosododh (hoyw-fodh hardh)
  Gyfraith yn Israel gu-fardh:

Rhai

Rhai a orchmynnodh (nodhed)
Ef i'n tâdau (gofiau gêd)
Ei dyscu (deu-lu di-wael)
Iw plant ai hâd magiad mael.
Fel gwybydhe 'r oese ar ôl,
Plant ag epil hil hadol.
Roi goglyd ar dhuw gu-glwys
Drwy gofio ei Air myfr-air mwys
Ag na bydhyn gyndyn gau,
Folt hudedh fel ei tadau:
Dedh an-ffydhlon galon gynt,
I'r cywir-dhuw lle cerdhynt.
Meibion Ephraim hyf-glaim hir,
Ackw'n arfog cynhyrfir
A bwa ffraeth yn saethu,
Troesant o'r gâd frwydrad fry.
Cyfammod Duw cof ymwan,
Ai gyfraith loyw-afiaith lân:
Ni chadwent (gwyrent ar gil)
Anckus gwrth-droent ar enckil.
Ei waith ryfedh-waith rif ôd,
Angall-anghofient yngod.
Gwnaeth iw tadau wyrthiau wir,
A reiphtiodh yn yr Aipht-dir:
Ym-maes Zoan hoyw-lân hardh,
Dinam wrthiau di-anardh.
Gwnaeth ir mor ym-agoryd,
Dûg hwynt drwodh hwyliodh hyd:
Ym-wahanai safai 'n siwr,
Bu o bn-tu yn ben-twr.
Hwynt mewn cwmwl a niwlen,
Twysai y dŷdh, rydh lle r ên:
Wrth olau tân ymmannos,
Cyfrwydhai nodai liw nos.
Creigiau scwariau yn leyrion,
Diodai wynt diwyd Iôn.
Dûg lifeiriant hoff-antur,
O'r graig gallestr fowr-lestr sûr:

Pyll-dhyfroedh a ffrydoedh ffres,
   Mynnodh idhynt oi monwes.
Wai vcho, mwy a bechent,
   Duw'n dhig o nwyf-ryfig wnênt.
Temptiâsant dhuw wiw-dhuw Iôn,
   (Cêlent) yng-wraidh ei calon:
Gann ofyn bwyd (blin-fwyd blys)
   Hollawl yn-ol ei hwllys.
Yn erbyn Duw syth-fyw sant,
   A gwg-loes y gwâg-leisiant:
Doedent o egni dadwrdh,
   A dhichon Duw byw roi bwrdh:
Yn y dyfal anial-dir,
   Lle diffaith di-ymdhaith dir?
Trawodh y graig (dur-graig * dwr) * Turris.
   Pistylliodh ffrydiodh ffrwd-dhwr:
A dhichon ef roi hefyd
   Fara: (a dharpara yd:)
A rydh ef gig (di-dhig daith)
   Iw bobl: o bai abl-saith.
Hynn clywodh a digiodh duw,
   Oll a thân-fodh eithin-fyw,
Enynnodh fflamiodh yn fflwch,
   Yn Jacob ôb-ôb eblwch:
A digofaint Duw gôf-ir,
   A gynneuodh hêdodh hîr:
Yn Israel (rhy-wael yrhawg
   Ogan adlais genedlawg.)
Chwerw odiaeth am na chredynt,
   Yn y gwir-dhuw hoyw-fyw hynt:
Ag na baent chwaith obaithiawl,
   Yn ei iechyd hyfryd hawl.
Er hynn gorchmynnodh i'r rhôd,
   Wybren olwch-wen odhvchod:
Agorai yn hy-gowraint,
   Dhrysau nefoedh freinioedh fraint
Mynnodh idhynt gael Manna,
   Melys-fwyd dewis-fwyd dâ:

Lluniaeth cowsant ei llened,
O'r nefoedd lifoedd ar lêd.
Dyn cae fwyta bara bwyd,
Yngo eilfodd angyl-fwyd.
Dwyrein-wynt, deheu-wynt hêdd,
Gaerau nefoedd a gyrodd.
Adar hy-bell ascellawg,
Cig-gafod rhif ôd y rhawg.
Yn ei gwersyll bebylloedd,
Cwympai tewrif 'neirif oedd.
Bwytasant (blîn-chwant o blâ,)
Gwelent gael bwyd ei gwâla.
Duw parodd yn rhwydd-fodd rhâd
Di-omedd ei dymbniad
Er hynn (llwyr gwae nhwy oi rhaib,
Lle bu leis-rwydd llu blys-raib)
Tra oedd y bwyd blys-fwyd blau,
Naws osnad yn ei safnau:
Duw digiodd llidiodd ar llêd,
Iw herbyn heb ei harbed:
Lladdodd drâs y rhai brâsaf,
O honynt nefol-hynt nâf:
Gostyngodd Duw hoyw-fodd hael,
Y dewis-rann Duy Israel:
Er hynn pechasant bôb rhîth,
Garrwedd bobl ogyrrith:
Ag ni chredasant antur,
Iw ryfeddau pwyntiau pur:
O hynn y treuliodd ei hoes,
Oll ai dydhiau diwedd-oes:
Mewn oferedd rhyssedd rhynn,
Mewn du-achreth a dychrynn.
Pann ladhai hwynt (poen ludd hîr)
Duw ceisient ackw oes-hîr:
Yno y troen di-boen daith,
Yn forau at dduw fowr-waith:
Cofient mai Duw fowr-dduw sarn,
Nedd ei cêd ai craig cadarn:

A'r Goruchaf bennaf bûdd,
  Gwiw-râd oedd ei gwaredudd.
Er iddynt ffrith rag-rithio,
  Addefawd faith iddo fo,
A ffwnn o gelwydd a ffûg
  Mwyn-ffals a thafod min-ffûg,
Ai calon dhi-inion i dduw,
  Heb ffydd iw grefydd groew-fyw:
Er hynny ef o nêf nêr,
  Yn drugarog rywiog-ber,
A fadheuodd hoyw-fodd hêdd,
  (Hoen arabl) ei henwiredd,
Ni dhifethodd mewn i codhiant,
  Rhain oedd nwyfus fwythus fant:
Trodd ymaith (Duw gwiw-faith gwych)
  Ffwynaidd ei dhîg yn fynych,
Agni chyffrôdh anfodh-lîd,
  Yn hyllaf lwyr ei hôll lid.
Cofiodh mai cnawd gwael-gnawd gau,
  Dedhen wedi heb dha-'n wydau,
A gwynt yn myned ar gîl,
  Uncwrs, heb droi o'r encil.
Pa sawl gwaith oi dryg-waith drwch,
  Hwnt yn ardal anialwch,
Y digient goffdient gyd,
  Dwys-braff wiw-dduw da ysbryd:
Cans troesant ffietdh-blant ffôl,
  Gwarthus ollawl iw gwrth-ôl,
Profasant Dhuw prîf-oesawg,
  Temptiasant Israel-Sant rhawg.
Ni chofient serch ei perchen,
  At nerth rymusnerth o nenn,
Na'r môdh gwaredodh o gêd,
  Hwynt rhag gwyn gelyn galed.
Rhoes yn rhwydd ei arwydhion,
  Yn yr Aipht hy-lawn-raipht lonn:
Ai ryfedhau gwrthiau gwir,
  Ym-maes Zoan gyf-ran-dir.

Troes

Troes ei dyfroedh ffrydoedh ffres,
Yn waed rhudh-waed lle rhodhes:
Fal na allent iw tenti,
Gael diod dhwr groyw-dhwr gri.
Rhoes gymysc-bla sangfa sôn,
Yn ei plith geu-rith geirwon,
A difethodh dwf weithian,
Hwynt a llyffaint ruthraint rann.
Rhoes ei enwd dayar-gnwd dêw,
I'r Locustiaid lû clwest-dew:
Ai llafur fowr-gur a fynn,
I'r celiog rhodiog rhedyn.
Sycomor-wydh gwin-wydh gai,
*Cesair ackw a ysai.
I'r crâs-genllysc neid-fysc naid,
Rhoe filoedh oi 'nifeiliaid:
Ag i'r mellt lle tywelltir,
Rhoes ei cyfoeth hy-goeth hîr.
Anfonawdh ocr-gawdh ergid,
Arnynt wedh lownedh ei lid,
Digter, îng, gûl-ing gilwg,
Draw ag angylion drwg.
Gwnaeth ffordh iw dhigofaint ffêst,
A lwydhodh yn dhi-ludh-est,
Ni attaliodh ei teu-lu,
Ing dasc odhiwrth angau du:
Rhoes ei bywyd llawn *gwŷd gau,
An-nedwydh i'r haint nodau.
Pob cynt-anedig trigfa
Ffêd-Aipht, hwynt trawodh a ffla:
Ei holl flaen-ffrwyth lawn-ffrwyth lu,
Yn Ham hyll yn pebyllu.
Ei bobl ei hun (Gûn) a gaid,
Arweiniai (dhifai dhefaid:)
Fel praidh hy-wedhaidh hoyw-dhysc,
Trwy'r anialwch garrwch gwrysc.
Tywysodh diogelodh daith,
Fel nad ofnent un dyfn-waith:

*Cenllysc

*Pechod.

Y garw-for dygyfor dawdh
  Ry-chwydh-wyllt a or-chudhiawdh.
Ei gelynion af-lonydh,
  Rhy-flinion ffolion ei ffydh.
Hwynt i oror dwys-gor dûg,
  Ei seintwar eur-war orug:
I'r mynydh hwn gwydhlwn gêd,
  A'nillodh hoyw-fodh hyfed:
Oll o rym ei lown-rym law,
  Dhuw haeledh ei dheheu-law.
Gyrrodh allan gwydhan goedh,
  Ganheid-liw lu Genhedloedh,
Oi blaen hwynt y blinion hâd,
  (Llwyr ystig yn llawr wastad)
Ei rhan-diroedh fudhioedh faeth,
  Tyfat idhynt 'tifedhiaeth:
Llwythau Israel dra-hael drô,
  Darogan gwnaeth i drigo,
Ym-hebyll gwersyll y gwyr,
  Dedh alon-iaith elyn-wyr
Er hynn o wyrthiau a rhâd,
  Drwy demptiau brithau brofiad,
Digiasant dhuw nowdh-fyw nâf,
  Geir-chwyrn un-ben gor-uchaf:
Ni chadwasant (warant wir)
  Ei dystiau gorau geir-wir.
Cilient a dychmygent dwrn
  Cen-gas gann drol fiw cwgwrn,
Buant an-ffydhlon lonaid,
  Fel ei tadau gau a gaid:
Troesant fel yn gyffelyb,
  Bwa twyllus darnus dyb.
Ai huchel-fau (mannau mall,)
  Y digient ef (modh di-gall:)
Llidient a dalient mewn dig,
  Cyrf ai delwau cerfiedig.
Hynn clywodh a digiodh Duw,
  Llysodh Israel rhy-laes-ryw.

Pabell

Pabell Silo r'eidho sail,
Gwrthododh y gwyrth adail,
Yr honn babell hy-well hardh
A osodai Dhuw sad-hardh
Yn rhyse ei bobl er maeth,
Gu-air fyd a gorfodaeth.
Rhodhes ei nerth gyf-nerth gêd,
Gaeth awydh i gaethiwed:
Ai brydferthwch(erthwch ail)
I'r gelyn nwyfyn 'nisail.
Rhoes i'r clêdh ei bobl fêdh faeth,
Tyfai dhig iw 'tifedhogaeth.
Tân a yssodh fal godhaith,
Ei wyr ieuainck rwyf-lainck raith:
Ai forwynion hoywon hardh,
Ni phriodwyd nwy ffryd-hardh.
Ei 'ffeiriaid gràdh a ladhid
A'r clêdh waed-lifedh o lid:
Gwragedh gwedhwon (gofion gynt,)
O lysoedh ni wylasynt.
Deffrôdh yr arglwydh dâ ffres,
Fel vn o gyntun gwîn-tes:
Fel Cawr cadarn fleidh-farn floedh,
Yn gwniaw wedi gwinoedh.
Ei elynnion dynnion dîg,
An-nuwiolion an-nelwig,
Rhoes idhynt warth an-'sparthol,
Trawodh hwynt trwodh iw hôl.
Gwrthododh babell gell-wŷch,
Joseph reiol wêdhol wych:
Ni etholodh gloyw-fôdh glaim,
Lâth o wiw-ffrwd lwyth Ephraim.
Ond dewisodh hoyw-fodh hael,
Lwyth Juda gyfa gafael:
Mynydh Sion hoyw-fron hêdh,
Rhwn a hôffai a rhinwedh.
Fel llys vchel ei wel-lydd

Ei Gyssegr-fa seil-fa sydh:
Fel y dhayar gronn-war grê
Saif odli iw sefyd-le.
Etholodh o iaith wiw-lân,
Dafydh ei wâs o râs rann
Ef cymerth loyw-nerth o laid,
Difai gorlannau defaid.
Odhar-ôl lle bu 'n dolef,
Defaid cyfebron lonn lef:
I borthi Iacob bobl-fawr,
Israel taeth 'tifedhiaeth fawr.
Ynte porthodh hoyw-fodh hwyl,
Hwynt luog enwog anwyl,
Yn-ol perffeithrwydh lwydhiant,
Ei galon syw-union sant:
Ag ai frinodh drwy nodhed,
Y bobloedh luoedh ar led:
Wrth gyfrwydhyd lown-fryd lonn,
Ei dhwylo di-eidhilion.

Y LXXIX. *Psalm.*

Deuair hirion etto.


Cenhedloedh (cwyn hidl-wyl,)
Doethant ó Dhuw hy-lyw hwyl,
Ith 'tifedhiaeth hy-faeth-gu,
Halogant dy deml-sant dûy:
Gorau seiliad Gaer-Salem,
Gwnaent garnedhau drumiau drem.
Célain dy weision coellwyd,
Rhoent i'r adar fâr yn fwyd:
A chig dy saint fowr-fraint frû,
Illod rhoent er ei yssû:
I fwyst-filod reibiod rann,
Ynni y dhaiar annian.
Fel dwr tywallent fûl daith,
Ei gwaed gwirion gyd-gâr-iaith:

Dam-

O amgylch Salem em-Gaer,
Heb ai cladhai (tew-fai taer.)
Aethom yn warthrudh eitha,
I'n cymdogion blinion blâ:
Darmerth gwatwar-gerdh dirmig,
I'r gau i'n drylau a drig
Pa hyd Arglwydh pur-lwydh pêr?
A drig dhig dragwydhogder?
A lysc d'eidhigedh losciad,
Fel tân gy-fowr-dân a gâd?
Tywallt dy lid oer-lid oedh,
Gân-hûd-lais ar Genhedloedh,
Nith 'dnabuant nwyfiant naws,
(Dreigiau ynni a dryg-naws:)
Ag ar dhi-râs deyrnasoedh,
(Rhai i'th erbyn eidhyn oedh:)
Ar dy Enw mowr-dw maith,
Annian ni alwent unwaith.
Yssent Jacob o bob-cwr,
Gwnaent ei drigfa 'n dyrfa dwr.
Eyn camwedhau heiniau hâd,
Na chofia (rwydha rodhiad)
Brysia in cym-morth bertti,
(Duw dhiweir-nod rwydh-glod ri)
Rhag flaened dy nodh-gêd ni,
Drugaredh i'n drâw gyrri:
Cans lleic iawn ydym a'n llais.
(Dhuw rwydh dhiwydrwydh dhi-drais)
Duw 'n iechydwriaeth maeth-ri,
Cynnorthwya nodhani,
Er gogoniant mwyniant medh
Dy Enw, a daionedh:
Gwared ni i'n gwedhi gwyn,
O dáliad ym yn 'dolwyn:
A thrugarha gwcha gwaith,
Er mwyn d'enw mewn dewn-waith:
With cyn camwedh wyredh drau,

Waith adwyth o bechodau.
Pam y dywaid (diffaid oedh)
Cân hu-odlawg Cenhedloedh,
(Geiriau camm a bair am-hwynt)
Ple mae ei Duw hy-dhuw hwynt?
Bid ysprys (gwedhys ylw'r gwaith,)
Mysc Cenhedloedh gawr-floedh-iaith:
Yn eyn golwg di-wg dasc,
Ya dhilen, ya dhial-wasc:
A dhâw am waed Seint-waed sarn,
Dy weission wnaed yn wasarn.
Uchenaid carchariaid chwyrn,
Doed attad (dyfiad di-fyrn)
Yn-ôl mowredh mwyn-wedh maith,
Dy nerth fowr-nerth ath farn-waith:
Cadw dy blant (mewn cyd-oes)
Marwolaeth, hy-gaeth ei hoes.
Tâl i'n cymdogion tew-lw,
Ar y seithsed ('frifed frû)
Iw monwes ang-hynnesrwydh,
Y gabledh o-fowredh swydh:
A'r honn ith gablasant rhawg,
Di ô frenin Duw freinhiawg.
A ninnau o'n holl annian,
Dy bobloedh gwoedh ar gân,
A defaid o dwr yn-faith,
Dy wiw-borfa forfa faith:
A'th folliannwn fawl yn-yd,
Di'n dragywydh hoyw-dhydh hyd)
A nad-canwn (doed cein-oes)
Dy folawd nadh-wawd i'n oes:
O genhedlaeth hy-faeth hawl,
I genhedlaeth gân hoedlawl.

Y LXXX.

## Y LXXX. *Psalm.*
Proest cyfnewidiog


Wrando 'n dhidhig y bigail
  Dafg oes-rydh dwyfawg Israel
Ymyfg Cherubin a mawl
  Dangos dy fod kyfnod koel.
2 Ger bron Ephrym, kyflym koeth
  Manasses Beniamyn afaeth,
Dangos dy gryfdwr down-goeth
  Dyred ath iechydwriaeth.
3 Trowys Arglwydh rhwydh yn rhann
  Attat eilwaith dûll hoelw-lon
A llewych dwyneb llawen
  Gwych o fodh ag iach fydhwn.
4 Duw rhyfeloedh llûoedh llên
  Ith fwydh pa ffromi ath fon:
Wrth wedhiau geiriau gwên
  A dewifair dy weifion
5 I bwyd ae bara oedh *Bôr,   *Arglwydh.
  O dhagrau 'nol dhuw gwiw nêr
Wylo 'n dhiod o alar
  Amryw foes mawr o fefur.
6 Gofodaift rhodhaift ni a rhêg
  Ymryfon cymdogion dig
Ragor chwerthin gwatwor-geg
  In gelynion yn glennig.
7 Duw lluoedh ryfeloedh rann
  Tro ni eilwaith twrn hoewlon
A llewych d'wyneb llawen,
  Gwych fodhus ag iach fydhwn.
8 Dy winwydh vn-duw vnion
  Tynnaift or Aipht naws dy rann
Gyrraift genedloedh geirwon
  Plennaift di a fynnaift dy fann
9 Koledhaift puraift fal *Pôr   *Arglwydh.
  Groew-dhawn pwyll i gwreidhin pêr

Honna a lanwodh iownrhodh ir
Llu deau a holl ddaear.
10 Y mynydhoedh koedh kudhiyd
Gwych asgell deg ae chysgod,
Oll wedi i changau lledyd
Heini vwch Cedar hynod.
11 I blagur yn ohybligion
Aeth hyd y mor gloew-ior glân.
Kangau ai breichiau or brynn
Ir afonydh rif vnwn.
12 Pam y gwnaethost yn dost ynn
Iw chaeau ad wyau'n dwnn.
Pob rhodiwr ofer-wr fann,
Arwr llais ai dryllia son.
13 O drallod yn i dryllio
Braedhod koedydh fydh gwae fi,
Ar nifeiliaid drygnaid dro
A pherigl yn i phori.
14 Duw rhyfeloedh lluoedh llin
Trô naf deisyfaf dwys ion:
Edrych o nef gwiw-nef gwên,
O Duw iown-llwybr dy winllan
15 Nodhed dod ith winlwydhen,
A blennaist draw ath law lân
Breichiau ae changau wych ion,
Wyt hael sydh eidhod dy hûn.
16 Gosodaist hi bwriaist a bar,
Torraist a baedhaist Duw bôr:
Pann gerydhi geli gwâr,
Methant ni fydhant nef ior.
17 Bid dy law yn aelaw nêr,
I dhyn oth dheheulaw dhir:
Ag ar y dyn gariad ior
Yn wyrth y buost nerthwr.
18 A Duw nid ymadawn,
Gwna ni yn fyw y llyw llawen:
Ag o glud y galwn,
Duwiol dy enw da awen.

19 Duw

19 Duw lluoedh rykeloedh rann,
Tro ni eilwaith twrn hoewlonn
A llewych d'wyneb llawen
Gwych o fodh ag iach fydhiwn

## Y LXXXI. *Psalm.*
Proest kyrch.



Kanwn a dwedwn da dyb
Duw 'n nerth nid ail wyd i neb:
A glodhest pob conkwest kerdh
Dhiwys hoew-gerdh i Duw Iagob
2 Kymerwch ber Psalterion
Wedi unparch ar dinpan:
A liwt deg loew etto daw
Ich dwylaw kymrwch delyn.
3 Kenwch y dydh keinwych dal
Lleuad newydh na fydh ful:
Yn fanwl kân yn fwynwych
Ydoedh wych dydhiau uchel.
4 Hynn yw status gwedhus goel
A dewisran Duw Israel:
Gorchmynnawdh mynnawdh ior maith
Deg o raith Duw Iago 'r wyl.
5 Tystiolaeth a wnaeth yn well
I Ioseb dhewindeb dhull:
O'r Aipht pann dwysawdh ior eithr
A dieithr fu y deall.
6 Y llwyth a dynnais fal llew,
O dhiar dy ysgwydh oedh wiw:
Ar * brik a wnaethost oer brid
A welid yn dy dhwylaw.

* Pridh-feini.

7 Gelwaist ar byd yn galed,
Tyb o serch atebais yd:
Profais di 'n wr mewn dwr da
Meriba a mawr wybod.
8 Os pobloedh dorfoedh dyrfa
Yn gywreindeg sy'n gwrando:

U Sickr

Sickr di a gai swckr di-gêl
Yn dawel o gwrandewi.
9 Eithr vn Duw dieithr nid êl
Diau 'n wir ith dai yn ol,
Na pharch i dhelw dhieithwig
Na geudhuw dig idhaw dyl.
10 Yowyf dy dhuw loewdhuw llwyth
Tynnais di or Aipht vnwaith:
Agor dy safn heb wegi
Yno mi ae llanwa a maeth.
11 Ni wrendy dyn or vndydh
Fy llais a rodhais o radh:
Ond Israel a gafael gaeth
Gwarth odiaeth am gwrthododh.
12 Gollyngais hwynt goll-angen
Yw kyndynrwydh aflwydh wŷn:
Aethant ech oedh hynt o chwith
Ynghyfrith i kynghorion.
13 O toltur dolur ond oedh
Fyng-wyr ni wrendy fyngwaedh;
Nad ai Israel er mael mau;
I'm llwybrau am wall ebrwydh.
14 Nis diengynt gostyngwn
Galanedh oe gelynion:
I gwrthneb wyr gwyr nid gwell
Yn hirbell trown yw herbyn.
15 Kaseion Duw keisian dêg
Ostwng idho a ffaelio o ffug:
Ai hamser i leferydh
Hwythau fydh dragywydh drwg.
19 Bwydid ef hwy da dyfyn
Ar gwenith or eginin:
A mêl or graig molwlair gwiw
Iaith dhull-hoew ith dhiwallwn.

## Y LXXXII. *Pſalm.*

### Englyn or hen ganiad.



Duw ſaif d'wys oedh
Darf i dorfoedh:
Ymhlith Duwiau gau ar goedh
Or beibl i farnu 'r bobloedh.
2 Pa ham pa hyd
Trais-farn trowrfyd:
Ag o du gyrru i gyd
Annuwiolion a welyd.
3 Dled i dlodion
Ynad union:
I 'mdhifad diwad don
Ar rhai diſas rheuduſion.
4 Clyw dlawd cloo lan
Ag wrdh egwan:
Rag y rhai drwg gwr gogan
Oe myſg achub wch wyr man.
5 Dall dheuallant
Nodhed ni wydhant,
Y towyll blin twll i blant
Rod iſel a redaſant:
Daear diau
Lle bu oll heb au,
Symudwyd kas amodau
O fewn ae holl ſylfaenau.
6 Dwedais keiſiych
Duwiau da ych:
Wedi meibion oll ydych
Y goruchaf gwiwnaf gwych.
7 Kaid marw pe rhôn
Dyna fal dynion:
A ſyrthiwch fel oerfel ion
Sy wagaidh towyſogion.
8 Kyfod kyfar
Dhuw barn dhaear:

Dy 'tifedhiaeth gwiwfaeth gwâr
Fydh oll genedloedh heb târ.

## Y LXXXIII. *Psalm.*
### Devair hirion.


Duw deg na estega,
Dydi o tewi nid da:
Na fydh na llonydh na llonn
Duw lown-wyrth wrth d'elynion.
Wele d'elynion eil-waith
Sy 'n terfysgu maedhu maith:
Ath gaseion geirwon gau
Poenus yn kodi i pennau.
Cyfrinach bell dhichell dhu
Ith dhynion wedi thanu:
Ymgynghori am sommi son
Dhynystr ith dhirgel-dhynion.
Dowch lledhwch kas-dhwedasant
I plaid fal na bo i plant
Na chofier na henwer hael
Mwy enw oes-rym yn Israel.
Un fryd arw ynfyd lle 'r ânt
Eisoes ymgyngorasant:
Ag ym-wnaethant gwarant gwŷn
O taith oerbwyll ith erbyn.
Ismael heb Edom bebyll
Moabiaid Hagariaid hyll:
Ammonniaid Gebaliaid bw
Amaleckiaid aml ackw.
Philystiaid anhoff lestair
A gwyr Tyrus ofnus air:
Asur ag hwynt sura kawdh
Heb pleser a ymgwplysawdh.
Braich a fuant ag antur
I blant Lot nes darfod dûr:
Gwna i rhann fal i Fadian fach
A Sisara sias oerach.

Megis

Megis Iabin flin flaeniad
Wrth afon Kizon mewn kâd:
Hwynt a lâs feilch hynt lwys fydh
Yn Endor o fewn un-dydh.
Buant yno boen tanu
Yn dail ar y dhaear du:
Dod frig i bonedhigion
Fal Oreb a Zeb wrth son.
Ae oll dwysogion llonwych
Fal Zeba a Salmna sych
Rhai a dhwedant soniant swn
Accw a mowrair cymerwn
A mynnwn a mwy ynni
Dwyn oll deiau Duw y ni
Gosod hwy 'n ol fal olwyn
O Duw fy Nuw mowrdhuw mwyn.
Fal sofl isel i helynt
Aflawen gwrs o flaen gwynt
Fal y llysg ofal llesgoed
Tân ar carth tyner y coed
Ag fal godhaith mewn eithin
Poethwel mynydh cynwydh crin
Erlid ath dymestl oerloes
Felly hwynt i fallu i hoes
Dechrau 'n hawdh dychryna i hynt
Ath gu eirian ath gorwynt
Llanw di a gwarth lluniad gau
Poen abwyd i hwynebau.
Cywilydhier rhodher hawl
Gwedhai drallod dragwydhawl
Gwradwydher cocher calyn
Difether hwynt fyth er hynn
Cân wybod cyn darfod dig
Yn ion mae tydi yn unig
(Yr hwnn yw Duw ar henw da
Y sy hyfedr Iehofa)
Sydh oruchaf gwchaf gwar
Ucha dewis uwch daear.

## Y LXXXIIII. *Psalm.*
### Englyn vnodl vnion.



Or hoywdhgar mor war duw mawr
Dy bebyll or lluoedh (ordh i bawb
Fy enaid gannaid ar goedh
Wych wedi ith chwenych ydoedh.
Blysiais hefyd fyd gwynfydid sowr
Blasau f'arglwydh tirion (glod
Gorfoledh mowredh o'm ion
Yw cael om cnawd am calon.
Adar fo'n ceisio cyson a gofal
A gafodh dûy bodlon
Cafodh gwennol dethol dôn
Iaith wych wiw nyth yw chywion.
Hef allorau fau wyt ti yn Arglwydh
Euroledh lluoedh geli:
Am rann oes fy mrenin i
Da odiaeth am Duw wedi.
Gwnfyd da wyd sawl a dariant Duw
Yn dy dûy heb sorriant
Yn wastad fal siarad sant
Iaith dhi-flin ath foliannant
Gwyn i fyd ennyd dyn vnion o wyrth
Ae nerth ynod weithion
Ath lwybrau sy orau son
Yno yw gael yn i galon.
Clodviant lle rhedant er hynn oes sechyd
Er syched y dyphryn
Ymhob cornel lle delyn
Y glaw ae lleinw ir glynn.
Ag o nerth i-nerth vnion ar hyder
Y rhedant yn fodlon
I weled breisged ger bronn
Dowynus yw Duw yn Seion.
Duw Arglwydh gu-lwydh geli y llywiant
Duw'r lluoedh vn a thri

Cyl

Cadernid Jehofa?
O fûnyd pwy a faneg
I fawl dêg diofal da?
Gwyn'n i byd i gyd rhag gwyth duw gwedi
A geidw i farn yn syth
Hwnn a wnêl yn lle deler
Gyfiownder bob amser byth.
Graslonrhwydh f'arglwydh da fyd y kefais
Cofia ith bobl hefyd
Pleni a mi ym-wel
O waith ûchel ath iechyd.
Daeoni gwêli i'r gwyr gwâdh diau
A'r dyn dewis llowradh:
Gorfoledh dy'tifedhiaeth
Ith genedlaeth gain adladh.
Eida n tad wiw-fad pechasom gimaint
O gamwedh y gwnaethom:
Anwir beilch yu wyr y byd
O fowyd nyni fûom.
Ni dhelltynt dwedynt yn tadau ir Aipht
Yr oll ryfedhodau:
O fesur ni chofiason
I rwydhion drugaredhau.
An-ufudh ae budh bronn bôdhi fûant
O feiau gorhodri:
Wrth dhygyfor y morodh
Y môr coch oedh mercitwch i.
Achubodh hwy a bodh a bid yma'n iawn
Er mwyn i enw gwelid:
Dyna'r modh i'r adwaener
Diweir-nêr ae gadernid.
Cerydhodh fychodh y mor coch (fant) noeth
Y gwnaeth llwybr a gerdhant:
Trwy flinder dyfnder yn dal
Fal annial a fôliannant.
Achubodh yn rhodh er hynn oedh alawnt
O dhwylaw y gelyn:
Gwaredodh ni dhaliodh lwg

O gilwg fechiant gelyn.
A'r dyfroedh ar goedh a gwynt lonaid
I gelynion llynkynt:
A diau nis gadawyd
A hanwyd vn o honynt.
Yna cûr dwysa credasant orig
I eiriau f'anwylsant:
O lefain I fawl efo
Twyn iso y canasant.
Yno digofio dygyfor vthrwaith
I weithred i'r kefnfor:
Ag heb dhisgwyl gwŷl a gwên
Ag angen am i gyngor.
Blysio 'n waeth a wnaeth noethwch y dyr-
Dirfawr i'r anialwch: (sa
Temptio mowrder nêr yn ol
Affeithiol i'r diffeithwch
Nôdes a rhodhes wir hynt ymannos
I damuniad vddynt:
Yn y fann e dhanfonawdh
Gwael oer-nawdh gûli arnynt
Cyffroesant fyw-sant Foesen ag arswyd
Yw gwersyllt aflawen:
Sant yr arglwydh nis llwydhynt
Gwirion hynt ag Aron hên.
Y dhaear dhig âr egorodh o daith
A Dathan a Lyncodh:
Cynulleidfa goeca gam
Abiram ir pwll bwriodh.
Tan blin yntwin kyneuodh lledfarw
I cynulleidfa ae deifiodh:
Yr annwiol bydol beilch
Y llesgweilch fflam ae llosgodh.
Yn wyneb Horeb ymchwilfrant wyr
Y llo aur a wnaethant:
I dhelw dawdh adholiad oedh
Grym oesoedh ymgrym masant
Troesant i ogoniant i gyd yn wael iawn

Ac lûn melwn allendyd:
Faleidion ar y fronwellt
A bawr y gwellt a brig yd:
Duw siwr achubwr a chwant a wenydd
Yno anghofiasant :
Yn yr Aipht a wnelsai 'r ion
Y mowrion bethau ymyrrant.
Pêth rhyfedd duedd diwair yn tôr rhydd
Yn-hir Ham heb lestair :
Pethau ofnadwy swyoch
Yn y môr côch mawr y cair.
Dinystriai dwedai arw dôn i anadl
A hynny 'n ddra diglion:
Gwnaeth Moeses les rhag i lid
Dinystrestd naws trowsion.
Gwedhol dhaimunol dhymuniant wyr taer
Ar tir distyrasant :
I air fyth orau o fawl
Dewisawl ni chredasant.
Grwgnach siaradach ysy rhwydh yw pobl
Yw pebyll mae astwydh:
Ni wrandowsant nwyfiant nôd
Lwys fowrglod lais fy arglwydh.
Ne fodd egorodh i lâw gaeth wir-boen
Yw herbyn yn helaeth:
Yno yw cwympo trô trwch
Ir anialwch rann alaeth.
Ag i gwympo trô antur oedh o hawl
I hâd mysg cenedloedh:
Ag ar sâr yw gwasgaru
Drwy watwaru drwy i tiroedh.
Ymgysarsu bû heb au hap awydh
Baal-peor a nhwylhau:
Byd dâ eusoes bwytasant
O borthiant feirw aberthau.
I blant digiasant Duw gain diosal
Ae dysais e hunain:
Ag yw mysg e gymysgodh

Y trawodh pla y truain.
Phinees dysyfes Duw a safodh ion
Ag yn iawn a farnodh:
Ag yna y plâ oe plû
Yw teulu a attaliodh.
Rhifwyd hynn Duw gwyn dûg yno fen-
Yn gyfiownder etto: (dith
O genedl i genedl a gwawl
Tragwydhawl y trig idho.
Digiwyd êf Duw nêf dann ofyn afrad
Wrth dhyfroedh yscymyn:
Drygwyd Moeses a drygwaith
A châs taith o achos hynn.
Cythrudho yno i einioes aspri
I yspryd a dryg-foes:
Cam-ymadrodh gormodh gan
De wefusau fu eusoes.
Heb dhinystriaw drâw dyna drai i hebyll
Yr oll bobl ae lliodiai:
Wrthynt arglwydh rwydh ar air
Dewisair fal dwedasai.
A'r genedl wir-chwedl o arw-chwant golud
Mewn gwely 'mgymysgant:
I gweithredoedh coedh nid cél
Dasg isel hwy ae dysgasant
Ag ir gau dhuwiau lle dhânt i beeni
Brunydh y gwsnaethant:
Y rhai a dwyllai ar hyd
O fylwyd i magl fuant.
Yn aberth kyngerth y caid i meibion
Heb dhim obaith enaid:
Ae merched gweled yn gaeth
Wrth alaeth i gythreuliaid.
Gwaed gwirion union rhai onest dian
Ai dywallt yn rhyffest:
Gwaed i meibion llon ar llêd
Ae merched nid mwy drchest.
I Ganan Dhuwiau o gynwaed borth is

Aberthasant ir-waed:
Halogwyd i hiliogaeth
Yt air gwreth i tir a gwaed.
Ae gweithredoedh koedh y gwydhant trwy
Felly 'mhalogasant: (oll
Mwy wêgi ae dychmygion
Yn welion puteiniasant.
Cyneuodh digiodh ond aeth yn wirboeth
Yn erbyn i bobl ffraeth.
Ffieidhiodh trwy ormodh trîn
At kydhin i ytifedhiaeth.
O wres e rôdhes râdhoedh yn alaeth
Yn nwylaw 'r cenedloedh:
Ae cas llywodraethasant
A gair o chwant gorucwch oedh.
Garw-dhyn i gêlyn y gwelwyd wrth rym
I gorthrymn a wnaethpwyd:
Tann i dwylaw a brâw brau
Gwst angau i gostyngwyd.
Mynych gwâr ydych gwaredodh cû ing
I cyngor ae digiodh:
Am eu henwiredh medhir
Y cûrir sawl nis cârodh.
Pand oedh ing cyfing cofiodh dhaeoni
I dhynion edrychodh:
Wann glywodh ef i llefain
Ae germain griô gormodh.
I ammod hynod henwodh yn honnaid
Jôn hwnnw a gofiodh:
Or fowredh drugaredhau
Tyst eiriau y tosturiodh.
Rhoes 'n hael i gael teg willio trwy gûr
Weth trugaredh yno:
Gann rai ae gwnaeth yn gaethion
Oer i bronn i garu i brô.
Achub ner tyner iawn yt oedh a da
Ti yw Duw y lluoedh:
Cynull ni o blith (dichwith di,

Cun

Cân odli) y cenedloedh.
Yn hynod dy glôd a gludant dosõnus
Yw d'enw gywirsant:
I ryfedh orfoledhu
Da osalu dy foliant.
Bendigaid mowr-blaid Amen o ras-rôdh
Yw Duw 'r Israel llawen:
A bû er ioed fal y bydh
Tragywydh y trîg awen.
Ag o bwyll didwyll dyweder i bawb
Oe bobl ef yn dyner:
Felly bo gwirio gariad
Aml yw 'ch nad, molwch nêr.

# Y Pumhed Llyfr.

## Y CVII. *Psalm.*

Proest cyfnewidiog.

CLodforiwch molwch da 'r môdh
Duw o rwysg da yw o radh:
Cans pery i wâr drugaredh
Awdur gwiw yn dragywydh.
Didwyll yno dywedwn
Degwch i waredigion
Rhai a waredodh i rhann
Oer gilwg o law 'r gelyn.
Ysglifr y tir a gasglodh
Or dwyrain euraid wiwradh:
Ag eglur o du 'r gogledh
A'r dehau tor ae dihûdh.
Bu anial crwydr y fal fas
Mewn affaith diffaith ar dês:
Heb gael lle gwâr i aros
O dhiar y ffordh oroff îs.
A'n yno yn newynog
Och wedi yn sychedig:

Og Ae

Ae henaid mewn anhunwag
    A lias yn i lewyg'
Llefasant enwant yna
    Yr ior arglwydh rhwydh a'n rhi:
Yw trymder kyfyngder fu
    Y gwaredodh gwir wedy.
Fo'i twylodh brysiodh mae brys
    I'r ffordh vnion llonn yw 'r lles
O dhyno mynd i dhinas
    Gyfannedh o gof vn-nos.
I ner cyffesant yn vn
    I drugaredh dawnwedh dyn:
Ae ryfedhod gwiwnod gân
    Nod hynod i blant dynion.
Diwallodh ni dhaliodh wg
    Wych oed enaid sychedig:
A dawn y llanwodh yn deg
    Yna enaid newynog.
Rhai a gwsg mewn rhuw gysgod
    Angau draw o ing a drig:
Yn rhwym mewn haearn ar hyd
    O gystudh alar gwastad.
An-ufudh-hau gau ond gwâg
    Ag amman i eirian orig:
A dirmygu drefnu drwg
    Cyngor goruchaf cangog.
Yn donn eu calon mewn cûr
    Bôl o wendid a blinder:
Syrthiasant nis gwelsant gâr
    Wrth Dhuw ae cynorthwywr.
Bu gri a gweidhi drwy gûr
    Yn gyfing mewn ing yn wir:
Achubodh nadodh yn ior
    A thrwy ymdaith orthrymder.
Dûg hwy or tywyll hyll hwnt
    Angau gysgod nôd a wnant:
Dryllíodh ni adawodh lle dônt
    Mwy odhef rhwymau vdhynt

Cyffes im nêr gloewder glan
 Ae drugaredh ryfedh rîn:
Ae ryfedhod hynod hên
 Ond dowynus i blant dynion.
Pann fynnodh e dorodh doe
 Byrth o bres ba wyrth heb roi:
A drylliodh e fynnodh fwy
 Barriau heyrn byrha-ai.
Dynion ynfydion o fâr
 Ae camwedhau 'n olau ner:
O radhau anwiredhwr
 Was didhym a gyfudhir.
Ae henaid traidh ffiaidh ffôn
 Bob rhyw fwyd be pêr i fin:
A daethant afrad weithian
 I byrth angau borth angen.
Bu gri a gweidhi drwy gûr
 Yn gyfing mewn îng yn wir:
Achubodh nadodh yn ior
 A thrwy ymdaith orthrymder.
Gyrrodh i air grair gwiw rent
 Yn rhodh iachaodh wych hwnt:
A gwaredodh cadwodh cynt
 Wyr oe mwythau (ior) methiant.
Cyffes in nêr gloewder glân
 Oe drugaredh ryfedh rîn:
Ae ryfedhod hynod hên
 Hynt dowynus i blant dynion.
Aberthant nis gweithiant gûdh
 Aberth moliant i sant fydh:
Traethant i waith yn faith fôdh
 Ae foliant a gorfoledh.
A êl i'r mor goror gân
 Mewn llongau yn gwau a gwŷn:
Gwnant i gorchwyl a hwyl hin
 O ymyrru a dyfroedh mowrion
Hwy welfant waith perffaith pûr
 Yr arglwydh ag arwydh gwir:

Ae ryfedhod wiwnod for
Wedi ofnadaith mewn dyfnder.
Doedodh e gododh y gwynt
A mor-gymlawdh nid hawdd hwnt:
Cododh a neidiodh fal nant
Yn donnau nôd a enwont.
Rhai dringant fef i nêf nenn
Medh esgud rhai a dhisgynn:
Todhodh i henaid didhan
O flinder afael wann-don.
Penn-droant tripiant at rann
A modhau fel y medhwyn:
A methodh yma weithion
I doethineb daith an-un
Bu grî a gwaeddi drwy gur
Yn gyfing mewn îng yn wir:
Achubodh nadodh yn ior
A thrwy ymdaith orthrymder.
E wnaeth yw ftormoedh yn ol
Yno dewi yn dawel:
A'r tonnau i gau yn gûl
O dyft gwyr diftaw ae gwyl.
Yna llenwir llawenydh
Y mor yn waftad ae medh:
Ef ae kymorth lê porthladh
Ymannos a dhamunodh.
Cyffes in nêr gloewder glan
Ae drugaredh ryfedh rîn:
Ae ryfedhod hynod hên
Ond da iawn i blant dynion.
I bobloedh ar goedh i gyd
Da orchafiaeth derchafed
Mawl i dhedhf mewn eifteddfod
Yn orau pob henuriad:
Ir diffeithwch trwch hynt radh
Wedi y llif gofododh:
I ffynnoniau ffein unwedh
O dhofbarth a wna 'n dhifbydh.

A

A thir ffrwythlawn a dawn da
Yn dhiffrwyth hwnn a dhefiry:
O gynnen a drigioni
A gwanthull rhai a drig yndho
Rhoes anial hir resynys
Yn llynn dwfr llawen o dês:
Ffynhoniau hoff iawn henwis
A dwr croiw dhaw o dir cras
Gwnaeth yno i dario dônt
Ir newynog cann enwent:
Dinas a dharparasant
Gysannedhol wedhol ynt.
A haeasant hwy feusydh
A phlann gwinllann vgeinllwdh:
Diogel ffrwyth y dygodh
A thoreth ymborth wiwradh.
Oth fendith dichwith Duw wyd
A mawl cân yn aml y caed:
Heb lehau rhwng cangau coed
O fawl oe hanifeiliaid.
Gwedi gwnai yn llai i llîn
Mewn îng yn gyfing i gûn:
Gostyngwyd mewn gwest angen
A dryg-fri mewn cyni can.
Bwrlodh dhirmig dîg nid da
Ar i bonedh arw boeni:
Gwnaeth hwy a brwydr i grwydro
De ffordh ir anial y ffy.
Y tylawd ar i wawd waedh
Wedi i gôdi in gwydh:
Da lewyrch i deuluoedh
Pûr ior a godedh fal praidh.
Rhai vnion heb gêl gwelodh
Yn llawen orawen radh:
A now-ran pob anwiredh
A gae i safn ag y sydh.
Pwy sy 'n gall pa sonio in gwrydh·
I gadw o mynn hynn yn hawdh:

A dheuall yn gall ar goedh
Folwrglod trugaredh f'arglwydh.

## Y CVIII. *Psalm.*

Y pump gwers kyntaf o gowydh llosgyrnog, ar darn arall o drybedh menaich.



Parawd fyngholl-iwawd yw 'nghalon
Parawd yw y tafawd yt ion
Waith union a thannau.
Deffro fy urdhas da râs drwsiad
Deffro ugeinwaith deffro ganiad
Bwriad yw kodi y borau.
Wrth genedloedh miloedh molaf
O wedh kynnil i Dhuw kanaf
Adhôlaf hynn oedh olau.
Da air enwi yw dy rinwedh
Ath wir union ath wirionedh
Ellwedh uwch y kymylau.
Dyrchafer ef uwch y nefoedh
A gogoniant moliant miloedh
Uwch tiroedh uwch y tyrau.
Ym bydh llawn awydh a llonn awel
Yw seintwar dawel sant ior diwad:
Imi pobloedh rhinioedh mi ae rhannaf
Sichem a fynnaf rwydhaf rodhiad.
Succoth dyphryn pur a fesuraf
Imi y gwelaf y mae Gilead
Manasses da ffres wedi Effrym
Hwnnw yw grym a henw gwiw rad
Juda dewisa ym yn * dwyfawg *Legislator.
A Moab yw 'nghawg yrhawg yn rhad
Ag ar gefn Edom drom ar drumiau
Bwrlaf fesgidiau byrr fwys godiad.
A Phalestina yna un-nos
Yn llonn o achos llawenychiad.
Pa wys a'm towys ymysg teyrn

I gaerau kedyrn gorau keidwad.
A phwy i Edom ym dhiamwedh
A'n dwg i unwedh mewdwy ganiad.
Yn digio yleni di an diglonnaith
I ffô in heliaith an ffynn hwyliad:
Heb dwyso yno yn dhianair
Anllawen y kair yn llu a'n kad.
Rhag blinfyd y byd bid Duw yn borth
A daw in kymorth dewin keimiad.
Ofer-nerth a serth ydyw pob son
A allo dynion ileia doniad.
Gwnawn hyder tyner arnat unjon
O wyrth ciwid son o nerth Duw dad.
Y gelyn tlcd gwael yn wasarn
Syth a yrri 'n sarn ae sathru-'n sad.

## Y CIX. *Psalm.*
### Deuair hirion.



Dww na thâw lle dâw dy air
Duw sy molsant kwy mow-lair
Annuwiol enau gau gant
Kysedh ymgyngorasant
Y tafod gwyllt tyfiad glwyn
Derbwyll lafar im erbyn.
Cylchasant fi clowch wiw-sias
Garwa cerdh ac geiriau câs
Ymladhant a ffant a ffôs
Mwy bechod a mi heb achos
Am gariad yn anad neb
Wrth hynn ân im gwrthwyneb
A minnau 'n wael mael im ais
I wiw-Dhuw a wedhiais
Gosodant dhrwg cilwg hynn
Mowrbell dros dâ im erbyn
Ag a dâl gâs gwas nis gwad
Mwya 'nghur am ynghariad.
Dôd arno ffieidhio ffol,

Un o awydh annuwiol
Bid Satan darogan draw
Halog wrth i dhehenlaw
Pann farner rhwydhder yrhawg
Yn iwin aed yn euawg
I wedhi bu waedh oe bod
O bai ochain yn bechod
Bid byr-hau orian i oes
Bid berigl a bid berroes.
Cymred arall a gwall gwaeth
Y sy gwbl i esgobaeth
Bid i blant bywyd i blaid
Medh ofer yn ymdhifaid
Bid i wraig ir byd a rann
Medh waeth-waeth yn wedhw weithian
A chrwydrant i blant yn bla
A garw deitl i gardotta
I bara a gais bâr y gwedh
O fewn lle anghyfannedh
Rhwyded yr occrwr rhydyn
A feodh oll fawa o dhyn
Bid dieithraid lle caid cûr
Ol ef i anrheithio i lafur
Na roed neb trwy undeb fro
Wawr dhydh drugaredh idho
Mwy ni bydh a rydh i raid
Dhiaffaith yw ymdhifaid
Dinystrier gyrrer yn gaeth
O lwgr oll i hiliogaeth
Di-leer dalier dolef
Ir ail oes ar i ol ef
Eurglod coffaer (arglwydh)
Anwiredhau i dadau'n dwydh
Coffa oedh yna'n dhinam
Pechod er i fod yw fam.
Y rheini modh y rhennid
Ger bronn ner bob amser bid
Bid coffa oedh yna odhi-arr

Duedh

Duedh ag wyneb daear.
Ni chofiodh wâr drugaredh
Erlid truan wann i wedh
I lâdh tylawd darfawd dîg
Dedh wedi 'n gystudhiedig
Hoffodh dhichwith felldithio
Honn yn boeth a dhoeth i dhô
Ni fynnai flith fendith fod
Hoen wyrth mae honn yw wrthod
Gwisgodh felldith dhichwith dhyn
Dall wedi fall dilledyn
Fal Dwfr idho chwidro chwyrn
All wisgo oel yw esgyrn
A bydhed fal dilledyn
A wisgo ef waisg o wyn
Fal gwregys yw grys deg rôl
Os dodid yn wastadol
A hynn fy nêr dyner dôn
Gwyl unwaith im gelynion.
Rhai dhowaid wrth fenaid fydh
Anfwed yn i awydh
Moes arglwydh molwr-lwydh y mi
Yn ol d'enw êl daeoni
Gwared fyfi rhi er hêdh
Da drwy gûr dy drugaredh
Cans truan a gwann dig wyf
Dediog a thylawd ydwyf
Mae 'nghalon o dhiwyfron dhig
A llid yn archolledig
Wyf fal cysgod trwm-nod fro
Gwag eidhil yn gogwydho
Fo 'm esgydwyd gwelwyd gwyn
All crwydr ceiliog rhedyn.
Gwann yw fyngliniau ywch gwydh
O newyn egwan awydh
O'm brasder pûr y curiais
O'm cnwd maith am cnawd o'm ais
Cywilydh herwydh i hynt

Hefyd gwnu oedhwn ydhynt
Siglent pann i gwelent gau
Ae pinswn drwg i pennau
Fy arglwydh wyd arwydh da
Wrth Dhuw fi cynorthwya
Achub fi 'n ol wiriol wedh
Duw dri gwir dy drugaredh
Ae bôdh fal y gwybydhyn
Daith hir mae dy waith yw hynn
Ag mae tydi gweithi gôst
Miw gûn weithian ae gwnaethost
Rhônt felldith, dy fendith di
I kywilydh nis cêli
Mwy gywilydh im galon
Dy was fydh llawenrydh llonn
Niwed im câs aniwarth
Yr offer gwisger a gwarth
Gwisg kywilydh bydh o bell
Yw mintai megis mantell
Molaf f'arglwydh mawr-lwydh mau
Mwy ogoniant am genau.
Moliannaf ef o nef nêr
A llywydh ymysg llawer
Saif wrth y tlawd barawd Iôr
Ae dheheulaw dha hael-ior
Rhag barn yn gadarn a gaid
O boen i achub enaid.

Y CX. *Psalm.*
Hên-fesur o lyfr Hergest.



DIwael y dywod
Eurglod yr arglwydh
Wrth f'arglwydh wyrth fowrglod
Eistedh yniwedh ystod
I'm deheulaw 'n aelaw nôd:
Hynod osodaf
Dialaf d'alon

Y dynion rhôf danaf
A thann dy draed yn waed naf
Yw gorwedh mi ae gyrraf
Dy nerth hôff werth sôn
Ae anfon un-fodh
Nas haeodh iôr Seion
Gwna lywodraeth wiwsaeth iôn
Ylent mysg d'elynion.
Y bobloedh oedh iwar
Yma 'r offrymant
Ae llesgiant wllysgar
Nerth hardhwch gwelwch a gar
Santaidh y-nydh i Seintwar
O grôth y wawr gronn
Cysion o cofy
Dy ent wlith dynion
Tyngodh arglwydh wiw-swydh ion
Ni ydifara dwf wirion
Ti ydwyt wiwdad
Offeiriad ffêrol
Tragwydhol frô gwydhiad
Yn ol urdh un ni wyl wad
Melchisdec mawl wych wastad.
Yr arglwydh swydh saint
Wall haint archolla
Dwg yna deg ennaint
Gwnaiff ar goedh frenhinoedh fraint
Dhygyfor yw dhigofaint.
E farn Duw a fêdh
Gymysgwedh mwysgion
Y dynion di-iownedh
E dyrr benn gwlad wastad wêdh
E leinw ôll a chelanedh.
E ŷf o'r afon
A hôffo 'n hyffordh.
Ar y ffordh gorofff iôn
Am hynn fy nêr syber son
Cysyd i wyneb cysion.

## Y CXI. Psalm.

Vnodl vnion.



Lodforaf molaf Dhuw am iôn ollawl
Dwllys fynghalon:
Mewn lle dirgel dawel dôn
Torf ranniad tyrfa 'r vnion.
Duw iown-wych rwydh-wych radho-
(edh mor odiaeth
Mawr ydyw i weithredoedh:
Yspys arswydys ydoedh
Ir sawl ae hofnant râs oedh.
I waith ef o nêf nid gann osid hirdhadl.
Yw hardhwch a glendid:
I gyfiownder a gerid
A bery byth bob awr bîd.
Gwnaeth gôffa yna enwawg i dhidwyll
Ryfedhodau cangawg:
Grasławn a rhiwydh-lawn yw rhawg
Athro gwyr a thrugarawg.
Rhoi i ymborth ae borth y bydh i hyfnod
Sawl ae hofnant beunydh:
Cofio i amod fowrglod fydh
Draw a gai yn dragywydh.
E dhywad heb wâd ydoedh o iawn wyrth
Holl nerth i weithredoedh:
Rhoe ydhynt dîr yn wir oedh.
Ackw' n adloes cenedloedh.
Barn gwirionedh hêdh dhihudhaw ydyw
Gweithredoedh i dhwylaw:
I orchmynion dôn lle daw
Yn ol sy 'n ffydhlon aelaw.
O siccr-hau dydhiau nis diwedher fyth
Tra fo tragwydholder:
Mewn gwirionedh purwedh pêr
Yn vnodydh ag vniownder.
Gorchmynnodh mynnodh manol yw mowrair
Ymwared

Ymwared tragwydhol:
I enw sy o wraidh santaidhiol
A mwy ofnadwy yn ôl.
Dechrau doethder pêr lle parant sowrglod
Yw ofn f'Arglwydh gwirsant:
Da dheuall yn gall a gânt
O fowredh ae harferant.
Ef piau mwyhau y mawl gywir-dhull
Y gwirdhuw tragwydhawl:
Yn parhau 'n wir pûr iawn hawl
Oes-oesoedh yn rasusawl.

## Y CXII. *Psalm.*
### Devair hirion



Wnfyd ennyd yw wyneb
A ofno nêr fwy na nêb:
A gâr yn dhirfawr (dêg ion)
Ymannos i orchmynion.
Ei had fydh codiad cadarn
Yn y tir fyth ond da 'r farn:
A chenedlaeth helaeth hir
Union doethion fendithir.
A chyfoeth pwy ni chofiai
A golud oll gwyl yw dai:
Ae gyfiawnder hyder hawl
A drig idho 'n dragwydhawl.
E rannodh olau ir union
Ir tywyll os hyll yw sôn:
Cyfiawn trugarawg hefyd
Tostur yw i gûr i gyd.
Trugarog fydh mewn gwydh gwâr
Mae 'n elgod gymwynasgar:
Rhola i eirian helaeth
Ar ol y farn reiol faeth.
Dhyn 'n hâel fo bery 'n hîr
Is gwagedh nid ysgogir:
A chyfiawn fydh rydh lle 'r aeth

I dario i goffadwriaeth.
Nid ofna ef sef fal sant
Y drwg-chwedl di-rywiolwg-chwant:
Di-sigl ir gwir ymdhiriaid
I galon ffrwythlon höff raid
Mae Duw 'n cynnal i galon
Ni ofna gri si na sôn:
Oni wyl yno i elyn
Wrth i wllys dhyrys dhyn.
Rhodhodh e rannodh yr ion
Dâl wedi i dylodion:
Ae gyfiownder gôf vndydh
Obru byth yn parhau bydh.
I gorn ef a dhyrchefir
Mewn gogoniant gwarant gwir:
Gwyl anuwiol ffôl goff-ha
O Dhuw agwrdh fo dhigia.
Ysgyrnyg egwan dhannedh
Dwrf dig yn darfod yw wedh:
Derfydh anedwydh yn ol
Der-chwaen yw arch anuwiol.

## Y CXIII. *Psalm.*
Byrr a thodhaid.


Weision da i cwynion Duw cênwch
Enw yr arglwydh molwch: (wirglod
Enw yn nêr a drig bendigwch
O hynn allan hynny a ellwch.
O godiad yr haul ag nas gêdwch
Aml yw i enw y moliennwch:
Hyd i fachlud hûd dywedwch beunydh
Llawenydh y llenwch.
Derchafwyd yn nêr drâw o chofiwch
Ar oll genedloedh o cyhoedhwch:
Diwair i ogoniant darogenwch
Goruwch y nefoedh coedh dêg hedhwch.
Pwy duw 'n vchel fel hwnn a folwch dewr

I dario

I dario 'n nirgelwch:
Gostyngawdh gwelawdh hynn gwiliwch
Bethau o nefoedh byth nwyfiwch
Ag yn y dhaear gwar gyrrwch
Cododh y truan lledwan or llwch:
A'r anghênus rhûs arhoswch gwedi
I godiad a welwch.
Eida phendefig y trigwch
Diau ar bonedh derbyniwch:
E rydh blant gwarant a gerwch
I'r rhain di-blant wyrion dyblwch.
Llawen-fam dhinam dhoniwch o folwrglod
I'arglwydh a ganmolwch.

## Y CXIIII. *Psalm*.

### Proest cyfnewidiog.



O'R Aipht pann aeth Israel rádh
A thûy Jaco 'n faith dhigudh:
O dhiworth dhynion feilchion fodh
Anwybodol enw bedydh.
A Juda dha yna ior
Dhewis hynt oedh i feintwar:
Ag Israel a gafael gwr
Bu yn arglwydhiaeth bér.
Y môr or goror ae gwyl
Ag o dhyno gwthio ar gil:
Urrhonen geinwen dan gél
Drwy dhawn oll a drodh ynol
Neidiai 'r mynydhoedh nôdan
Fal hydhod hyrdhod heirdhion:
A phob rhŷw oll a phob brynn
Fal wynos o fawl enwen.
O fyd beth a dharfu yt fôr
Pann giliaist poen a galar:
Urdhonen o rádh iown-wir
Y kiliaist iawn ofnaist nér.
Paham fynydhoedh oedhych

Môdau hyrdhod a neidiwch:
Ar bryniau golau gweloch
Fal wyn diofal anach.
Ofna 'r dhaear a garwn
Gwir bris yr arglwydh ger bron:
O flaen neb yw wyneb ynn
Duw Jaco nêr diogan.
E dry graig a daear gronn:
Oedh arwa llêd yn dhwr llynn
Ar gallestr arw ae gollwn
Yn holl annwyl yn ffynnon.

## Y CXV. *Psalm*.

### Deuair hirion.



Id nyni nid nyni nêr
Yn felus d'enw a foler:
O herwydh fy nâf hoewrylw
Dy drugaredh ryfedh ryw.
O Duw paham y dywaid
Y cenedloedh er oedh raid?
Pa le y mae gwae or gân
Der araith i Duw 'r olwran?
Yn Duw ini a'n dalwn oedh
Iawn afael yn y nefoedh.
Ef a luniodh yn flaenor
Ef a wnaeth a fynnai ior.
Eu holl dhelwau gau a gaid
O'r arian a goreuraid:
Ag a wnaethai os âi son
Gildynnus gwaela dynion.
I genau yn gau a gânt
O fowrair ni lefarant:
A llygaid sydh ydh ae dwg
Ni welant un o olwg.
Mae clustiau yn gau uwch gwên
Ni chlywant yn iach lawen:
Ae ffroenau i gau o gûr

Nid

Nid aroglant dro eglur
A dwylaw sydh delw i sant
Waith amlwg ag ni theimlant:
A thraed vddynt athrodwaith
Ni leisiant ni cherdhant chwaith
Sawl ae gwnel i gornel gau
A'n hwy weithian fal 'nwythau:
A phob dyn o honyn hynt
Di-dhuw a 'mdhiriaid yddynt.
Tŷ 'r Israel nid gwael a gaid
Medh orau i Dhuw 'mdhiriaid:
Ef yw 'n porth cymorth yn cân
Hynod taerwalch yn tarian.
Tŷ Aron sy vnion swydh
Eurglod a goelia 'r Arglwydh:
Ef yw 'n porth cymorth yn cân
Hynod taerwalch yn tarian.
A ofno 'n nêr syber swydh
Eurglod a goelia 'r arglwydh:
Ef yw 'n porth cymorth yn cân
Hynod taerwalch yn tarian.
Duw a'n cofiodh dawn-rodh da
Band weithian fo 'n bendithia:
Bendith i Israel hael hêdh
Ag Aron bendith gwâredh.
A ofno 'n nêr fwyn iawn iaith
Ae bendithia benn doethiaith:
Ofni 'r arglwydh rhwydh y rhann
Bû achos mawr a bychan.
A Duw 'n deg a chwanegai
I chwithau dhoniau lle dhai:
Hef arnoch gwydhoch godhiant
Ae roi 'ch plith ag ar ych plant.
Brig bendigedig ydych
Gann yn nêr ag vnion wych:
Y nâf a wnaeth y nefoedh
Duw a rann a daear oedh.
Ef piau golau gwelir

Y nef ie 'r nef yn wir:
Rhoes y dhaear hawdhgar tôn
Dowynus yw i blant dynion.
Y meirw ni all y marn i
O fael ytoedh fawl ytti:
Na 'r rhai a dhisgin yn rhwydh
Dyst wiwran ir distawrwydh.
O hynn allan lân lenwi
Da gwnn y bendithiwn di:
Yn dragywydh rydh heb rûs
Molwch yr Arglwydh melus.

## Y CXVI. *Psalm.*

### Deuair hirion.



A yw gwynn dhuw dygn wedhiais
Clywodh ef fy llef am llais:
Am blygu im caru caf
A glwys deitl i glust attaf.
Yn y-nydh union wedhi
O gael fyth y galwa fi:
Angau ae raffau lle 'r ant
Ifod am cylchynasant.
Ing y bedh yw 'ngwybydhiaeth
A'm daliodh gwasgodh fi 'n gaeth:
Blinder a mallter i'm ais
A gofid mawr a gefais.
Yna eilwaith mi a alwaf
Union nér ar enw yn nâf:
Atolwg nér hyder rhaid
Duw fannwyl gwared f'enaid.
Cofiwch fod f'arglwydh cyfiawn.
Yn drugarog enwog iawn:
A thyst ior a thosturiol
Yw 'n Duw ni a'n dawn yw ol
Ceidw yn dyner yn nér ni
Y rhai lyml ni char somni:
Bum isel bû derfel byd

Mwy ucho rhoes ym iechyd.
Dychwel f'enaid gloewnaid glwys.
Ith arffed byth i orphwys:
Cans yr Arglwydh wiwlwydh yt
O wyrth a fu dha wrthyt.
Duw mawr tynnodh enaid mau
Dhierthing o dhiwrth angau:
Yn-rhaed ni lithran rhodiyn
Y dwr o'm llygaid a dynn.
Rhodiaf dir rhai byw gwirion
Yngwydh fargl wydh wiwl-wydh iôn:
Llefarais credais câr wyd
Er 'sydhiau im mawr gystudhiwyd.
Dwedais ar ffrwst trwst bis rhydh
Gwelais fod pawb ar gelwydh:
Beth a dalaf i'n nâf ni
Am i dhawn mwy dhaeoni:
Cymraf phiôl nâf a wnaeth
Diorwag iechydwriaeth.
Ar enw yn nêr wirion naf
Duw gwiw olud y galwaf:
Talaf â mynnaf ym ion
Dedh dhidwyll f'adheweidion.
I'r llann yr owran heb rûs
O flaen i bobl foliannus:
Gwerthfawr y-nawr yw y nôd
Yngwydh yr arglwydh eurglod.
Marwolaeth alaeth dhôlef
Y sy hwnt oll yw saint ef,
Wele o arglwydh herwydh hynn
Dwys ydwyf dy wâs a-dyn:
Dy was wyf yn dewis swyn
Fowrair mab dy lawforwyn:
Fy rhwymau a'm asau mêr
Datodaist di wyt hyder.
Aberthaf nêr syber sant
O borth mawl aberth moliant:
A galwaf un Duw gelt

I enw yn ner vnion ni.
Talaf im ner hreisgder brau
Dhawn ydoedh f'adhunedau.
Ir llann yr owran heb rûs
O flaen holl bobl foliannus:
Ynghyntedh ner grysder grâs
Caerusalem cair solas:
Molwch a soniwch ich swydh
Or-eurglod Dhuw yr arglwydh.

## Y CXVII. *Psalm.*

Englyn milwr.


Enwch a chenwch vnhyd
Kenedloedh holl bobloedh byd
Kan ir arglwydh ku enhyd.
Kans pery i war drugaredh
Ae air vnion wirionedh
Byth yn mawr obaith an medh.

## Y CXVIII. *Psalm.*

Devair hirion.


Olwch f'arglwydh a swydh syw
Diau odiaeth da ydyw:
Tragyuydh y bydh heb wad
I drugaredh drwy gariad.
Dweded Israel hael alwr honn
Daeonus yw ir dynion:
Tragywydh y bydh &c.
Tûy Aron pe rhôn y rhêd
I mewn dadl mwyn y dweded:
Tragywydh &c.
Dwedant a ofnant yw wydh
Ner eurglod sy nuw 'r arglwydh:
Tragywydh &c.
A rhwysg y gelwais fy rhi
Cûl adyn sûm mewn clêdi:

Clywodh

Clywodh gosododh gwiw son
I dario 'n ehang dirion.
F'arglwydh mwyn sydh yn wyneb
Nid ofna 'nghél a wnél neb:
Mae fy rhi gida mi mwy
Accw o nerth im cynorthwy.
Fynghas rhai diras lle dôn
Caf f'wllys o'r cyfeillion:
Gwell a sydh i gall syw-dhyn
Gobaith Duw na gobaith dyn:
Gwell gobaith ner syber son
Sigl gobaith tywysogion.
Y genedl arw-chwedl oer-chwant
Eusoes am cylchynasant:
Yn enw yn ner mowrder maith
Twrf amwynt torraf hwy ymaith.
Im ogylch fwrw amgylch fry
Ymaith Duw ae tyrr ymy:
Amgylchant gweithiant a gwŷn
Ofal gwnn fal y gwenyn.
Diffodhant gwelant gelain
Ae tynnu draw fal tân drain:
Herwydh i enw f'arglwydh tod
Torraf hwy ymaith torf amod.
Mae 'r gelyn rhwth im gwthio
Minnau syrthiais trais fu 'r tro:
Ond fy ner a rhwydhder rhodh
Wrth Dhuw am cynhorthwyodh.
Duw fy nerth cyngerth am cân
Wych doeth am iechyd weithian:
Gorfydh iechyd wiwbryd ion
Cofus ymhebyll cyfion:
Deheulaw yn aelaw ner
Mwyl-daith a wnaiff rymysder.
Y-marn oll nid marw a wnaf
O fedhwl byw a fydhaf:
Mynagaf gweithiaf ar goedh
Duw iaith rad dy weithredoedh.

Gann gospi om rhi im rhodh
Ag yspail ef a gospodh:
Nim rhodhodh mynnodh fy maeth
I afrolus farwolaeth.
Agorwch heb fwy gerydh
Byrth cyfiolwnder fwynder fydh:
Mi af ydhynt ar hynt rhwydh
O fowrglod mollwyf farglwydh.
Araith wych dyna i borth ion
Yna yr aiff gwyr union.
Clodforaf di Duw tri tro
Yngwir-unduw am 'ngwrando:
Y maen hynod gwrthod gwyr
O lid yr adeiladwyr:
Yn benn congl wrth dhehongli
Aeth yn sylfaen maen imi.
O Dhuw y daeth helaeth hynn
Rhyfedh i'n gwydh y rhifyn:
Llyma'r dydh llym wradwydher
A wnaeth yn arglwydh a'n nêr.
Iown-dhull gorfoledh yndho
A llewenydh bydh lle bo:
Atolwg arglwydh teulu
Achub yn awr fal cawr cû.
Atolwg arglwydh swydh sant
Bôr iawn wledh par ynn lwydhiant:
Bendith yn dhichwith a dhél
Yn enw Duw ynn yn dawel.
O dûy yr arglwydh rhwydh rhôm
Eusoes ich bendithiasom:
Duw yw 'n arglwydh rhwydh a'n rhi
Union llewyrchodh ynni.
Rhwymwch yn gall wrth allor
A rhaff aberth bûrwerth Bôr:
Fy nuw byw ydwyt fy naf
O fowredh mi ath glodforaf.
Derchafaf dro vwch hefyd
Fy nuw byw tra fwy'n y byd:

Molwch

Molwch f'arglwydh o swydh syw
Diau odiaeth da ydyw.
Tragywydh y bydh heb wad
I drugaredh drwy gariad.

Y CXIX. Psalm ag yndhi XXII. rhann a phob vn o amryw fesur.

ALEPH. y rhann gyntaf vnodl vnion.


Wynn i fyd enhyd a vnion rodio
Yn gariadol ffydhlon:
Yn-nedhfau Duw nodhfa dôn
Yn ber ae llwybrau 'n burion.
Gwynn i fyd i gyd a gadwo 'n deil.
I dystiolaeth dirion: (wng
Ae keisio ef tecka son
Ae goelio ae holl galon.
Ni weithia i waetha weithion ni wyra
Mewn anwiredh digllon:
Sawl a rodio llwybro llonn
O gariad yw ffyrdh gwirion.
Gorchmynnaist mynnaist ymy ion gwedi
Gadw dy oll orchmynion:
Yn dhiofal dyfal don
Wyth-oes ae karu weithion
Damunais keissiais kyson dhewisgall
Dhysgu 'nrhaed yn fodlon:
I gadw yn beraidh wreidhion
Dy status felus hyd fon:
Wyf o gysur pur périon yw d'adhaw
Ol'm gwradwydhir weithion:
Pann edrychwyf rhwyf pe rhôn
Ymannos d'oll orchmynion.
Mola'r arglwydh rwydh iodhion o fendith
A chyfiawnder dwyfronn:

Pann i dysgaf teckaf tôn
A gofal dy farn gyson
Kana 'n Ffraeth helaeth hylawn nis dow-
Dy status gyfreith-lawn: (tiaf
Na'm gwrthod nâf eithafiawn
Yn hwyr ior nag yn hir iawn.

BETH. Yr ail rhann.
Proest Kyfnewidiog.


A welliant diludhiant lwyth
I dhyn ieuanck ffromlanck ffraeth:
Trwy ochel diogelwaith
Yn ol gair Duw diwair doeth.
Mi ath geisiais dann fais yn fyw
Am Kalon loewfron yn lew,
Na ad fini ymadaw
Ath orchmynion gwchion gwiw.
Kudhiais draw d'adhaw didhan
Ammau kilwg im kalon:
Yn höff achos na ffechwn
Ion diweirbarch yn d'erbyn.
Dedwydhawl ydwyd wedhaidh
Diweirglod o Duw Arglwydh:
Dysg ymi o dasg ym oedh
Dy berffaith gyfraith heb gawdh.
A'n gwefusau 'n gof eusces
Duw yno nid yw anhaws:
Am genau mi a genais
Dy gadarn loew-farn yn lwys.
Difyrrach diofcrwaith
I minnau dy lwybrau lwyth:
Yn dy rasol dystiolaeth
Yn iach hyfedr na chyfoeth.
Myfyriaf yn hoewaf hardh
Dy orchmynion gwirion gwrdh:
Ystyriaf gweithiaf ar gerdh
Un-Duw hoff iawn yn dy ffyrdh.

Difyrrwch

Dilyrrwch kenwch kennyf
Dy status wedhus adhef:
Yn llaw angel ni ollyngaf
Yn ing dy air yn angof.

## GIMEL. Y III. rhann.
### Vnodl krwcka.


Ydh garedig heb dhigio
Wrth dy was drwy brdhas dro:
Byw fydhaf hoewnaf heno yn keidwad
Kadwaf d'air heb ffaelio.
Pâr im llygaid grych-neidiaw
Yn agored fal llêd llaw:
Kaf ar lled weled eilliaw deg wiwfraint
Dy gyfraith yn hylaw.
Ar dhaear i wedhiaw
Odhiwrth drwch wyf dhierth draw:
Nad wedi gweidhi gudhiaw i minnau
Dy orchmynion mangaw.
Mae 'nghalon a'm bronn a braw
Yn torri heb hwnt tariaw:
O chwant a llessant wllysiaw dy farn
Yowyd towrner difraw.
Bwrlaist a llêdaist a llaw
Ba weilch oedh yn balchiaw:
Melltith ir swil sy 'n kiliaw meinwr
Rhag dorchmynion aelaw.
Kywilydh dirmig hwyliaw
Symmyd ior os ymy daw:
Dy dystiolaeth ffraeth ffrwythaw yn gadarn
A gedwais i yn dhistaw.
Dy was hael sy 'n trafaeliaw
dy status drefnus draw:
Twysogion dhigon a dhaw ae siarad
Suredh im kyhudhaw.
Fym-hleser dyner lle daw
Duw wyd eustus dy dystiaw:

K k Kynghorion

Kynghorion doethion da weithiaw didhig,
Da oedhent ym athrawo.

## DALETH. Y IIII rhann.
Proest Kadwynodl.


Glynn y mae 'r golau enaid
Yn y llwch yn drwch dan droed:
Gwna fi yn fyw im rhyw rhaid
Ar ol dy air diwair doed.
Traethaf fy ffyrdh ond tratheg
Gwrandewaist ni dhwedaist dhig:
Ym yn hydhysg dysg yn deg
Dy status heb rûs or brig.
Pâr ym dheuall kall nid kudh
Yn dy dhedhfau gorau gwedh:
Myfyriaf fy nâf am nûdh
A rhifaf dy waith rhyfedh.
Todhodh fenaid serth-naid fôn
O drymder bryder heb rann:
Kyfod fi Arglwydh Kyfion
Ar ol dy air gloew-grair glân.
Tynn fyfi geli heb gêl
O dhig ffordh gelwydhog ffôl:
Dysg dy gyfraith mwyn-iaith mêl
Yn ior isod yn rasol.
Detholais y daith wiwlan
A gwirionedh hêdh y'w honn:
Y farn enwog surn antan
Wir im a rois ger y mronn.
Deliais a glynais yn glir
Dy dystiolaeth bur-ffraeth bêr:
O Arglwydh ag arwydh gwir
Wyd eidhof n'am gwradwydher.
Rhodiaf a rhêdaf fy rhann
Ymannos yn d'orchmynion:
Pann helaethych gwych o gân
Ynghu olud ynghalonn.

HE

## HE. Y V. rhann.

Vnodl Kyrch.



Dysg ym llwybr hylwybr haeledh
Dy status medrus ae medh:
Diau fyth kadwa o fael
Duw diwael hyd y diwedh.
Dyro ym dheuall kall deg hêdh
Kadwaf dy dhedhfau kydwedh:
Diâu hir y kadwaf honn
Im kalon mwya koelwedh.
Dysg llwybrau gorau gwiredh
D'orchmynion mwynion ae mêdh:
Mae yndhynt trwy hynt nid trwch
Fy-nifyrrwch fwyn fowredh.
Plŷg fynghalon dirionwedh
Ith dystiolaeth wiw-ffraeth wedh:
Mewn kybydhdra gwaetha gwaith
Y'm oerwaith nâd ym orwedh.
Tro fy llygaid hoewnaid hedh
Dhierth wg odhiwrth wagedh:
Yn dy lwybrau gorau gwŷn
A chychwyn fi 'n iach wchedh.
Gwastata yna annedh
Dy wâs ag vrdhas yw 'r gwedh:
Drwy d'adhaw gwrandaw i gri
Y mae 'n d'ofni mewn dyfnedh.
Tynn sarhaed yn siwr hud-wedh
Ofni imi kynn fy mêdh:
Dy bûr-farn ry-gadarn ri
Daeoni ydyw vnwedh.
Chwenychaf o kaf deg hêdh
D'orchmynion pêrion puredh:
O nerthi Duw tri yt rhaid
Fenaid yn dy gyfiownedh.

## VAV. Y VI. rhann.
### Deuair hirion.



Go o râd yn garedig
 Arglwydh da tro yma trig:
A'th iechyd trwy wnfyd traw
 Eirial dydh ar ol d'adhaw.
Felly 'r atebaf well-well
 Im ablenwyr kablwyr kell
Kans ymdhiriaid fenaid fâb
 Yn dy air vn duw arab.
Na chymer d'air mowrair mau
 Grym gynnal gwir o'm genau:
Waetia fi gwedi 'n gadarn
 Mwya Duw fyth am dy farn.
Yno kadwaf mwyaf mawl
 Gwiwdhuw dy dhedhf drag wydhawl.
Kerdhaf rhodiaf mewn rhydid,
 Keisiaf dy dhedhf ledhf heb lid:
Dy dystiolaeth a draethaf
 Wrth frenhinoedh nefoedh naf
Arnaf ni fynnaf ni fydh
 Na chelu na chywilydh:
Mae nifyrrwch mwyn fowredh
 Yn dorchmynion wchion wedh.
Dyna rai odht dann yr ais
 Hyfforddh erioed a hoffais.
Mi a godaf mwy gwedi
 Annwyl iawn fy nwylaw i.
At d'orchmynion loewon lais
 Rhann gwir y rhain a gerais:
A myfyriaf mwy fowredh
 Yn dy gyfraith hoewfaith hedh.

ZAIN.

## ZAIN. Y VII. rhann.

### Deuair fyrion or hên ganiad.

Kyffa d'adhaw
Wrth dy was draw:
Peraist vdhynt
Ymdhiriaid gynt.
Hynny yw 'mhleser
Mewn tra blinder
Dy adhaw da
Am llonhycha.
Y beilchion fu
Im gwatwaru:
Ni throis vnwaith
Dhiwrth dy gyfraith.
Koffais dy farn
Gynt duw gadarn:
Hynn wrth fy modh
Am kysurodh.

Ofnais yn wir
Dros dyn anwir:
Sydh yn gwrthod
Dy dhygymod.
Fyngherdh felus
Yw dy status:
Yn fy-nhûy tlawd
Pererindawd.
Dy enw koffais
Duw kynn hunais:
Kedwais yn faith
Duw dy gyfraith.
Hynn oll hoew-nâf
Kefais koffaf
O gadw gwedi
Dy adhaw di.

## CHETH. Yr VIII. rhann.

### Cowydh llosgyrnog.

Fy rhann ydwyd fawr enwedig,
A bwriedais yn buredig
I gadw orig dy eiriau.
Duw manwl yn d'wydh damunais
Dy drugaredh Duw dir gerais
Doe adhewais da dhiau.
Ystyriais fy ffyrdh naws tirion
Trist fu'n vn-nos troist fi'n vnion
Weithion ith dystiolaethau.
Brysiais nid oedais nod vn-dydh
I gadw d'orchmynion fal gwolwcydh
Kevnyrch rhag ofn ym beenau.
Er bod llu drel yn fy stelian
Ing hefyd nid wy 'n d'anghofiaw

I weithiaw dy gyfreithiau.
Am hanner nôs am hynn fôr nêr
Diolchaf kodaf rhag hyder
Fowr-ner o'th gyfion farnau.
Wyf gydymaith goel-swaith gwelf
Iaith dhyfnach a phawb ith ofni
Mynni gadw d'orchmynnau.
Llawn yw 'r dhaear gwâr ag erod
O'th drugaredh hên-wedh hynod
Ifod ith ystatusau.

## TETH. Y IX. rhann.
### Owdl gowydh.



Hennaist dy râs for hynod
Ith was o glôd ath dhysg lan:
Ar ol dy air reiol daw
Dy adhaw diwair didhan.
Dysg yn ffraeth wybodaeth bêr
Y farn dyner fry 'n d'anian:
Credais d'orchmynion kroew daith
Yn fwya rhaith yn fy rhann.
Kynn fynghosbi trosi trô
Ar dhidro bum rydh oedran:
Kadwaf oll mwya kêd fu
O draethu dy air weithian.
Wyd rasol reiol heb rûs
A daeonus dy anian:
Dy status felus soli
Honno ymi dysg yn y mann.
Y dynion beilch gweilch i'm gwydh:
O gelwydh i'm mygylan:
Kadwaf am kalon fron frau
Dy eiriau o Duw eirian.
I kalonnau a gau gynt
Tewion ydynt ni wâdan:
Dy dhedhf yw 'mhleser da dhysg
Iawn adhysg hynn a wydhan.

Da

Pā i mi fyngholbi fynghig
Wych orig ath lâw chwarian:
Dy status selus a su
I dysgu gallaf dwys-gan.
Gwell yw geiriau d'enau di
Ymmy Duw nid ammod wann:
Na miloedh aur g yhoedh gŷd
O deg wryd ag arian.

IOD. Y X. rhann.
Todhaid o XIX. sillaf.


Dy dhwylaw hylaw haelaf am lluniawdh
Dydi am kreawdh dy nawdh Duw naf:
Dôd dhenall dwysgall dysgaf d'orchmy-
Ath eiriau tirion vnion hoewnaf. (nion
Chwardhant a'th ofnant laith dhyfnaf
O gael gowir-ner golwg arnaf: (dyner
Am ymi leni lownaf ymdhiriaid
Diwair y gweiniaid d'air a ganaf
Yn vnion kyfion kofiaf dy iown-farn
Honno sy gadarn hynn nis gwadaf:
O ffydhlonder nêr yn araf syber
Peraist ym flinder mwynder mendiaf.
Ag oth gariad rhâd rhodiaf yn eglur
Pâr ym dy gyssur ior pûr pêraf:
Ar ol d'air pêr-air puraf ith weision
Dy adhewidion Duw a dhiwedaf.
Gyrr yno etto attaf drugaredh
O bai vsudh-wedh byw a fydhaf:
Fynghalon vnion iownaf i'th status
Yn vchel wedhus ni chwilydhiaf.
Yn dy gyfraith faith ni fethaf vn-nôs
Yn llonn oe hachos llawenhychaf:
E fydh kywilydh koeliaf ar feilchion:
Lle drwg-weithiasson goelion gwaelaf.
Mysyrdawd tafawd tyfaf i'm kalon
Yn dy orchmynion mwynion mynnaf:

Dy blant ath ofnant iaith dhyfnaf bobloedh
Diwair iawn yttoedh a dzôn attal.

## CAPH. Y XI. rhann.

Byrr a thodhaid.



Y Chenaid f'enaid gwae finnau duchan
Am dy iechyd dithau:
Mi a darial am dy eiriau
Mae 'ngolwg ywl ar medhwl mau
Yn aros d'adhaw er ysdydhiau,
Yn diwedyd pa bzyd Duw ioz bzau?
Pa bzyd kof ennyd kaf innau'n bzysur
Dy gyssur deg oesau?
Ail i groen chwisigen denau
Y krinais mewn mwg hir winau:
Dysgais a bzysiais Duw ioz bzau
Dy status fodhus dhifadhau.
Dowaid ith was rif diau i adfyd
A welyd yn olau:
Pa bzyd ath farn gwnai wasarnau
D'z fawl am erlid: bid heb au
Y beilchion a glodhiodh y bylchau
Im byw oll a mwy o byllau,
Nid yw bynn medhyn mewn modhau o rwysc
Ar ol dy gyfreithiau.
Dozchmynion gwirion yw 'r gozau,
Beilch im erlid gwelid a gau
Ni wzthodais dy ledhf dhedhfau
Duw im pozth kymozth rhag kammau.
Ar y wâr dhaear dheau a bygwth
Bu agos fy llesghau.
Gwna fi'n fowiog enwog wnniau
Ar ol dy gariad rhâd rheidiau,
Ag yn garedig fedhig fadhau
Ym hap wych ydoedh om pechodau:
Dy dystiolaeth ffraeth ffrwythau yn gadarn
A gadwaf oth enau.

LAMED.

## LAMED. Y XII. rhann.

### Hir a thodhaid.


Uw dy air kêdair kôdais i'r nefoedh
I bêry bythoedh draw oedh heb drais.
Dy wir byth a bery hynny honnais,
Daear yw sail Duw erys a welais
Dyd hedhyw'n tario hirdro hwyrdrais.
Dy was ae piau golau gwiliais
D.id melyster pêr purais dy gyfraith
Sudhall yn yn faith kanwaith kwynais.
D'orchmynion kyfion myfi ae kofiais.
Yn fyw i'm kodi om kuli koeliais:
Duw wyf eidhod hynod kadw fi honnais
Kans dy orchmynion kyfion y keisiais
Enwirfaid a gaid im lladh ar gais rhuthr
Dy dyftiau aruthr Duw Duw ystyriais.
Y pethau gorau gwiriais ar dhaear
Trwy ofn a galar i terfyn gwelais.

## MEM. Y XIII. rhann.

### Kyhydedh wych-bann neu gyhydedh ferr.



Erais dy dhedhfau ku eirfiol
Honno a studiaf yn wastadol,
A'th orchmynion mwynion manol.
Gwnaethost fi'n iach dhoethach dhe.
N'am gelynion mowrion marwol (thol,
Deuellais hwy a mwy i'm ôl
Na'm athrawion am waith reiol.
D'air myfyriaf araf wrol
Mwy na'r hên deuellais mewn rhol.
O gadw dy gyfraith gêdol
Yn-rhaed kedwais anghenrheidiol,
Oe drwg-ffyrdh gwyr di-rowiog-ffol.
D'eirian kadwaf yn awdurial

Nis trois oth farn naws tretsiol.
Tydi am dygaist Duw tadol,
Melys draw d'adhaw dedwydhol
Melys a dâ fal mél is dôl.
Wrth dheall kefais am dheol
Llwybrau kas-dhynion ffeilsion ffél
Hynod a gwrthod i gwrthol.

## NVN. Y XIIII rhann.

Kyhydedh naw bann.



Y llugern i'm troed duw doed dy air
I'm llwybrau 'n olau dy anwylair:
Y kadwn tyngais dihokedair
Dy farn deg wiwlarn ar dy gyfair.
Wy 'n dartod dwysglod argiwydh disglair
Dod fi 'n fyw eilwaith da waith dy air
Derbyn ty aberth digerth a gair
Dysg dy farn yn gall deuall diwair
Wyf ymronn angau pynnau poenair
Ni chollais dy faith gyfraith bob gair
Er maglau dufrydw rhai anwair
Ni chiliais oth dheddf wych lés ath air.
Yn f'etifedhiaeth yn ffraeth ffrwythair,
A llawenydh llonn i'm kalon kair
Plygais ynghalon union iownair
Ar ol dy status felus fowlair,
A hynn hyd dhiwedh kallwedh kellwair.

## SAMECH. Y XV. rhann.

Cyhydedh wendrosgl neu gyhydedh hir.



Kas-hais llais llonn
Magiad dychmygion
Ofer yr olwyn iry a wiriaf.
Dy dhedhf ledhf lan
Wyt tor a'm tarian
Yn wiwdeg eirian, duw a garaf.

Ith

Ith air rhâdair rhaid
Medh oran ymdhiriaid
Achub vi f'enaid kannaid kanaf.
Y rhai drwg rhy drwch
Gwaelion mogelwch
I dhedhf os kedwch hedhwch haedhaf.
Yn wastad rad draw
Diohan fal d'adhaw
Heibiaw bai feidhiaw byw a fydhaf.
Na thynn mynn ior maith
Gwbl oll om gobaith
Attal fi unwaith wyt hael fwynaf.
Diogel digon
Pleser llowndercllonn
Iaith dhiwair fodhion ith air fydhaf.
Sethraist gwesgaist gant
Gwaelion a giliant
Oth air ath warant uthrwaith araf.
Oferbwyll dwyll dig
Tynnaist kuraist kig
Du yw wenwynig dyn ae anaf.
Ir dhaear wâr wych
Wy dystiaw draw drych
Im hoen kowirwych am hynn karaf.
Fynhafawd ffawd ffydh
A grynn o grennydh
O ofn yn y-nydh fy nuw wiw naf.
Ofnais trais fal traeth
Wy farn gadarn gaeth
Duw dy ras bennaeth helaeth haelaf.

## AIN. Y XVI. rhann.
### Cyrch a chwtta.


NEf eurner kyfion fernais
Na âd fyngorthrech dann ais
Trosof duw kûn damunais
Atteb o gyflowndeb lais.

Ar dhawn for Duw adhunais
Wyf d'wsnaethwr kyflwr kais
Na âd ir beilch trymweilch trâ
  Y llaw 'n ucha lle nychais.
Am dy iechyd klyd mae klais
A ffyla 'ngolwg ffaeliais,
Am d'adhaw gwiliaw ar gais
Ar ol dy râd eiriolais.
Dy wâs (wyt dhuw) dewisais
D'orchmynion drudion heb drais,
Dôd ym dheuall gall gellwair
  Dy air hynod a wiriais.
Madws o Arglwydh llwydh llwyd
Help gwaith bêr affaith brofwyd,
Dy status astrus dinystriwyd
Uwch aur d'orchmynion gwych wyd
Kerais uwch pur-aur kweiriwyd
D'union orchmynion yw 'mwyd
Ag lle gwelais kashais sên
  Ffyrdh ffeilsion oer-son arswyd:

PE. Y XVII. rhann.
Clogyrnach.



Y dystiaw rifaw sydh ryfedh
Fy enaid ae keidw 'n gyfannedh.
Dechreuad mâd mau
Gwelwyd mae golau
Ith eiriau ath wiredh.
Deuall ir syml rhydh kynn diwedh
Egorais enau gowirwedh,
Arwydh dedwydh dôn
Kerais kowirion
D'orchmynion drych mwynwedh.
Duw edrych gyrrych drugaredh
Ymmy oth arfer dhiomwedh
A'r sawl hawl hwylwych
A gâr gowirwych

Rhi-

Rhiſyeh dy enw rhyſedh.
Gwilia 'nghamrau i'th eiriau ath hedh
Nim meiſtrolir drwy enwiredh
Gwared fi rhi rhîn
Rhag gorthrech trêch trin
Drwg werin drwy garedh.
Kadwaf d'orchmynion ae kydwedh
Dangos dhrych lewych olevwedh
D'wyneb da vnion
I'th oes ith weiſion
Yw holion o haeledh.
Dysg ym dy ſtatus wedhus wêdh
Wylaw 'r ydwyf rhag dialedh,
Ni chadwant blant blin
Dy gyfraith faith fin
Ail erwin alar-wedh.

## TSADDI. Y XVIII. rhann.
### Gwaewdodyn byrr.



Yd arglwydh kefnog enwog vnion
Ath farnedigaeth gofiaeth gyfion:
Gorchmynnaiſt peraiſt pûrion dyſt howdhgar
Gôf vnder gwâr gyfiownder gwirion.
O duw lowned wyf fod d'elynion
Yn anghofiaw d'air yn anghyfion:
Profu yd d'air pur-air pêrion ynt ollawl
Kolwir dewiſawl kâr dy weiſion.
Dirmig gwael ydwyf diniwyf dynion
Nid anghofiais mynnais d'orchmynion:
Tragwydhawl gwedhawl gwydhon a thyner
Yw dy gyfiowndev duw nêr a'n ion.
Dy gyfraith ſy wir gwelir goelion
Doeth arnaf adfyd blaenwyd blinion:
D'orchymyn er hynn herwon o flinder
Yd yw fymhleſer bêr dyner don.
Tragwydhawl nêr dy gyfiownder ion

Ath dystiolaeth helaeth i haelion
Dyro 'n gall dheuall wedhion ith wâs
Byw fydh oth râs (kuras kowirion.)

KOPH. Y XIX. rhann.
Gwaewdodyn hir.



'My kalon (kroew-fon) arnad kriais
O Arglwydh nef klyw fy llêf am llais:
Dy gyfraith kadwaf hoe wnaf honnais
Ior unduw golau arnad gellwais.
Achub naf kodaf kedwais yn helaeth
Dy bur dystiolaeth ffraeth a ffrwythais.
Y borau flaenau a rag-flaenais
A gwedhi i'r nef arnad llefais:
O Duw ior eilwaith d'air a wiliais
Y nôs drwy ochi naws edrychais:
Gwell na gwillwyr gwŷr a gerais puredh
Diwair am fowredh d'air myfyriais.
Gwrando f'adhuned godhed gwaedhais
Ar ol dy gariad rhâd y rhodiais:
Deffro fi ylem diwael unais
Ar ol dy farn gadarn nis gwedais.
Mae y rhain rhy-filain ar falais i gwaith
Yn bell oth gyfraith eilwaith wylais.
Agos wyt Arglwydh dedwydh dwedais
D'oll orchmynion kowirion kerais:
Er ystalm hirbell y deuellais
Oth wir dystiolaeth alaeth eiliais.
I bâra heb drâ heb drais anianol
Byth yn dragwydhol môdhol mêdhais.

RESH. Yr XX. rhann.
Rupynt byrr.



'Adfyd gwelf,
Gwared gêli, gariad gwiwlan
Ith gyfreithiau,
Gloew nosweithiau, glynais weithian.

Di a'm gwaredi,
Dadlau gwedi, fy rhi o'm rhann
Gwna fi 'n fowiog
O waith rhowiog ath air hyuan.
Iechydwriaeth,
O gamwriaeth, nis kaém wiwrann:
Dy ſtatuſau,
Gann eskuſan, gwnn nas keiſian.
Mawr yw gwaredh
Dy drugaredh, Duw dewr gwiwran:
Dy farn fowiog
A wnai 'n rhowiog, fi 'n wr hoewan.
Aml erlidwyr,
Ym a llidwyr, am wall lledwan:
Ni ochélais
Iaith doſt gwelais, oth dyſt gwiwlan.
Llidiais gâf-wyr,
A threſbaſwyr, eithr yſpyſan:
Achos dwedi,
Draw nych wedi, d'air ni chadwan.
Dy dhedhf karaf,
Yſtôr araf, yſtyr eirian:
Oth râd rhowiog
Gwna fi 'n fowiog, ag yn fuan.
Decchrau kowir
D'air a glowir, drwy goel Ieuan
Iawn ir bydoedh
Dy farn ydoedh, difurn idan.

SCHIN. Yr XXI. rhann.
Trybedh mənaich.



Heb achos agos fowyſogion
Yma ar ol oedion a'm erlidiodh:
Fyngalon unon mewn ofn enhyd
O'th wiw ras hefyd i'th air ſafodh
Llawengrair i'th air ydwyf fyth ail
Un a gai yſpail gormail gormodh

Dy gyfraith gwiw-ddaith duw a gerais
A ffalsedd kas-hais wiw-drais addodd
Brenydd ith iownfarn gadarn gyd-waith
Molaf di seithwaith faith ni fethodd
Kaiff kâr dy gyfraith rodd-faith rwydd-fyd
Draw gwnn bwch hefyd drwg ni chafodd
I'th iechyd rydyd ymddiriedais (fodd.
Dy ddeddfau kedwais dann f'ais dawn
Dy bur dystiolaeth ffraeth a ffrwythwyd
Fundduw ku ydwyd fenaid kadwodd.
Kans yn orchestawl a hawl hylaw
Am i kowiraw mi ae karodd.
Fy llwybrau sy ith wydd arwydd irion
Kedwais d'orchmynion union anodd.

TAV. Y XXII. rhann.
Englyn milwr.


Delo f'achwyn am kwynion
Duw fry ir nef ger dy fronn
Dyro ddeuall yn dirion.
Ymannos fy namuniad
Ar ôl dy air diwair dâd
Diwael wyt y dél attad.
Wyd wedhus ar ol d'addaw
Gwared fi o drom-ged draw
Yn y mann rwy 'n damunaw.
Molaf di am genau melus
Pann i dyfgych drych di-rus
Ys-da ytkoedh dy ftatus.
A'm tafawd truth-wawd traethaf
D'orchmynion kyfion y kaf
Ath air yn berffaith araf.
Kymmorth fi ath law rhag ymwan
Duw dewifais gloewlais glan
Dy ddeddfau golau gwiwlan.
O arglwydd berwydd hiraeth
Fymhleser a'm mwynder maeth

Yw

